Cyfres Boblogaidd yr Aelwyd




# HANESION Y BEIBL

THOMAS LEVI

# HANESION Y BEIBL:

YN CYNNWYS,

TRI CHANT O DDYGWYDDIADAU HYNOD

YN

HANESYDDIAETH Y BEIBL,

GYDAG AGOS I

800 O DDARLUNIAU.

WEDI EU CYFADDASU I'R CYMRY,

GAN Y PARCH. THOMAS LEVI.

---

YR HEN DESTAMENT.

---

WREXHAM.

CYHOEDDEDIG GAN HUGHES AND SON.

# CYNWYSIAD.

# RHAGYMADRODD.

Amcan mawr y Beibl tuag atom, yn ddiau, yw ein gwneuthur yn "ddoeth i iachawdwriaeth;" ac i'r dyben hwn dylem fod yn ofalus i barchu ei awdurdod; i ddeall a chredu ei athrawiaeth; ac i ddefnyddio ei orchymynion. Ond collwn lawer o'i fuddioldeb, os na byddwn, wrth fyned yn mlaen, yn sylwi ar, ac yn edmygu ei *brydferthion*. Oblegyd os gadawn o'r neilldu ei ddygwyddiadau cyffrous, a'i ddesgryfiadau bywiog, a thybied fod yn rhaid i ni bob amser droi i rywle arall am ddifyrwch i'r meddwl, eir i edrych ar ddarlleniad y Gyfrol Sanctaidd *yn unig* fel tasg neu ddyledswydd arbenig; ac felly cyll yr Ysgrythyrau eu prif afael a'u dylanwad ar y meddwl. Mae cyhoeddwyr y llyfr hwn, gan hyny, wedi gwneyd cynygiad newydd i gyfeirio llygaid yr ieuainc at amrywiol bethau o ddyddordeb neillduol yn hanesyddiaeth y Beibl, eu hegluro â darluniau, ac ychwanegu digon o'r hanes i roddi esboniad ar y darlun. Gwelir fod arlunydd medrus wedi ei gyflogi; a gobeithiwn y pâr yr ymgais hwn eto i ddwyn allan ac egluro ei gynwysiad, i Lyfr y Llyfrau gael ei agoryd gan ymchwilwyr ieuainc gyda blas newydd; yr arweinia i astudiaeth ddifyr o'r Ysgrythyrau; ac y cyfrana yn helaeth i'r canlyniadau goreu mewn crefydd personol.

## CREADIGAETH DYN.

Er i ddyn gael ei wneyd yn arglwydd y byd hwn, nid efe oedd y preswylydd byw cyntaf ar y ddaiar. Ymddengys fod y môr a'r awyr wedi eu poblogi gan eu hamrywiol greaduriaid cyn i'r tir gynyrchu ei lwythau, ac mai yn ddiweddaf o'r cwbl y rhoddwyd dyn mewn meddiant o'i arglwyddiaeth newydd. Fel hyn, cadwyd y gorchwyl ardderchocaf o eiddo Duw ar y ddaiar i gwblhau gwaith y creadigaeth. A dylid sylwi nad yw yr hanes a roddir am ffurfiad creaduriaid direswm ond byr ac anmherffaith ; ond rhoddir desgrifiad manylach o greadigaeth dyn, a chyfeirir at yr amgylchiad amryw weithiau yn y pennodau cyntaf yn Llyfr Genesis, gyda'r nôd uchel hwn o wahaniaeth—i'r Hollalluog wneuthur y dyn AR EI DDELW EI HUN. Nis gallwn byth ddeall yn gyflawn gynwys dirfawr yr ymadrodd hwn o eiddo y Beibl, hyd nes byddo i'r ddelw hòno, gollwyd yn y Cwymp, gael ei hadferu yn y byd a ddaw. Mae y Beibl yn llawn o destynau yn priodoli creadigaeth dyn i Dduw, ond y bennod gyntaf a'r ail o Genesis sydd yn rhoddi y manylion hanesyddol boreuaf am hyny a feddwn.

---

## CREADIGAETH BENYW.

Ni hysbysir ni pa hyd y bu Adda wrtho ei hun yn crwydro yn nghoedwigoedd dymunol Eden, heb un cydmar i gyfranogi o'i fendithion a'i sefyllfa o gyfrifoldeb moesol. Cawn, yn y cyfamser, i'r holl lwythau o anifeiliaid gael eu dwyn o un i un dan ei sylw, ac iddo yntau roddi ei fryd i astudio eu ffurfiau a'u harferion, fel y gallai eu gwahaniaethu ag enwau cymhwys. Ymddengys yr awgryma yr hanesydd sanctaidd fod unigrwydd Adda yn ddiffyg yn ei gyflwr ; ac yn ddiffyg, mae'n bosibl, nad



CREADIGAETH DYN.



CREADIGAETH BENYW.



Y CWYMP.

oedd ef ei hun yn anymwybodol o hono. Felly anrhegwyd ef â chydmar anghenrheidiol ei fywyd a'i feddiannau, fel y dangosir yn yr ail bennod o Genesis.

---

## Y CWYMP.

Felly, gyda phwysnod a gwirionedd prudd, y gelwir genym y dygwyddiad cyntaf a gawn yn mywyd ein rhieni cyffredin. Syrthiodd dyn, yr hwn a osodwyd gan ei Greawdwr ar binacl dedwyddwch dynol—yn mhell uwchlaw pobpeth dynol, mewn natur, awdurdod, a gallu—syrthiodd islaw iddynt oll, a daeth yn bechadur! Gorchwyl dewisedig yr Un Drwg o hyd yw perswadio a a thwyllo. Mae ei sibrwd ef, ac ymgomiadau cydwybod eiddil yn meddyliau y rhai a fyfyriant anufudd-dod, yn debyg iawn i'r amgylchiad rhwng y Sarph gyfrwys a'n mham Efa. Yn gyntaf daw math o gwestiwn: "Ai diau ddywedyd o Dduw, ni chewch?" Yna atebiad pendant y meddwl, heb anghofio eto y ffaith syml: "Duw a ddywedodd, Na fwytewch o hono, ac na chyffyrddwch ag ef rhag eich marw." Yn awr canlyna gwadiad llwyr o'r canlyniad bygythiedig, yn flaenorol i doriad y gorchymyn: "Ni byddwch feirw ddim." Nid oes angen troi ochr addfed y demtasiwn ond unwaith yn ychwaneg at lygad y petruswr, ac wele ef yn cymeryd o'r ffrwyth, ac yn ei fwyta. Ni ddywedir wrthym gyda pha fath archwaeth y cyfranogodd ein rhieni anufydd o'r ffrwyth gwaharddedig; ond gwyddom nad yw yn un rhan o orchwyl y temtiwr i gyflawni ei addewidion, nac i leddfu cospedigaeth y rhai a syrthiant yn ysglyfaeth i'w demtasiynau. Y pryd y cyrhaedda ef ei amcan oreu yw, pan fyddo y siomedigaeth yn fwyaf llymdost, a'r dinystr yn fwyaf dwfn a hollol.—Gen. iii.

## ADDA AC EFA YN YMGUDDIO.

YN awr newidiwyd rhyddid dedwydd diniweidrwydd am ofnau ac ystrywiau meddwl euog. Mae adroddiad syml yr Ysgrythyr yn egluro y mater yn gyflawn: "A hwy a glywsant lais yr Arglwydd Dduw yn rhodio yn yr ardd, gydag awel y dydd; ac ymguddiodd Adda a'i wraig o olwg yr Arglwydd Dduw, yn mysg prenau yr ardd. A'r Arglwydd Dduw a alwodd ar Adda, ac a ddywedodd wrtho, Pa le yr wyt ti? Yntau a ddywedodd, Dy lais a glywais yn yr ardd; a mi a ofnais, oblegid noeth oeddwn, ac a ymguddiais. A dywedodd Duw, Pwy a fynegodd i ti dy fod yn noeth? ai o'r pren y gorchymynaswn i ti na fwytäit o hono, y bwytëaist? Ac Adda a ddywedodd, Y wraig a roddaist gyda mi, hi a roddodd i mi o'r pren, a mi a fwytëais. A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd wrth y wraig, Paham y gwnaethost ti hyn? A'r wraig a ddywedodd, Y sarph a'm twyllodd, a bwyta a wneuthum."—GEN. iii.

---

## GYRU ADDA AC EFA O BARADWYS.

YR oedd deildai hyfryd Eden yn awr, ar ol arosiad byr, mae'n debyg, i gael eu rhyddhau yn hollol o'u preswylwyr euog. Profasant archwaeth cyflawn pren marwolaeth. A diau yr ysbeiliasent yn fuan bren y bywyd, a buasent felly yn sicrhau anfarwoldeb daiarol, yr hyn a fforffedwyd ganddynt trwy eu trosedd; ond ni chaniatawyd iddynt wneyd y cynyg. "A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd, Wele y dyn sydd megys un o honom ni, i wybod da a drwg. Ac weithian rhag iddo estyn ei law, a chymeryd hefyd o bren y bywyd, a bwyta, a byw yn dragywyddol: am hyny yr Arglwydd Dduw a'i hanfonodd ef allan o ardd Eden, i lafurio y ddaiar, yr hon y cymerasid ef o



ADDA AC EFA YN YMGUDDIO.



GYRU ADDA AC EFA O BARADWYS.



CAIN YN LLADD ABEL EI FRAWD.

honi. Felly efe a yrodd allan y dyn, ac a osododd, o'r tu dwyrain i ardd Eden, y cerubiaid, a chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd."—GEN. iii.

---

## CAIN YN LLADD ABEL EI FRAWD.

ER mai y dygwyddiad hwn yw y trosedd dynol nesaf a gofnodir yn yr Ysgrythyrau, nid ydym i gasglu i'r cyfnod o enedigaeth y brodyr hyn, hyd nes y cyrhaeddasant oedran gwyr, fyned heibio heb i'r temtiwr wneyd cynygion eraill, neu heb weithredoedd eraill o anufudd-dod gan ddyn. Yr oedd yn ddiammau seiliau blaenorol o anfoddlonrwydd dwyfol yn erbyn Cain, er nad yw yn cael ei hysbysu, yr hyn oedd yn gwneyd ei aberth yn ofer ac annerbyniol. Nid yw yr hanes yn nodi unrhyw fanylion, hyd nes i anfoddlonrwydd addfedu i ddigofaint a chynddaredd gwaedlyd yn mynwes Cain. "A Chain a ddywedodd wrth Abel ei frawd; ac fel yr oeddent hwy yn y maes, Cain a gododd yn erbyn Abel ei frawd, ac a'i lladdodd ef." Cyflawnwyd y weithred, a phrysurodd Barnwr byw a meirw i gyhuddo y llofrudd. "A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Cain, Mae Abel dy frawd di?" Atebodd Cain ei Wneuthurwr gydag anfadrwydd taiog dyn annuwiol, fel pe buasai yn ateb ei gyd-ddyn; ïe, atebodd ef gyda chelwydd ar ei dafod—"Nis gwn; ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi? A dywedodd Duw, Beth a wnaethost? llef gwaed dy frawd sydd yn gwaeddi arnaf fi o'r ddaiar. Ac yr awr hon melldigedig wyt ti o'r ddaiar, yr hon a agorodd ei safn i dderbyn gwaed dy frawd o'th law di. Pan lafuriech y ddaear, ni chwanega hi roddi ei ffrwyth i ti; gwibiad a chrwydriad fyddi ar y ddaear."—GEN. iv.

## NOAH A'I DEULU YN MYNED I'R ARCH.

Yr ydym yn llawer mwy tueddol a pharod i gydnabod Duw fel ein Gwneuthurwr, nag i'w ofni fel un a all ymweled â ni mewn moment â distryw. Mae y blaned hon, sydd a'i gwyneb mor deg, a'r hon y gostegwyd terfysg ei helfenau am dro gan fraich Hollalluog, yn cynwys o hyd beiriannau nerthol ei ewyllys, y rhai ydynt yn ymgodi ac yn ymrwgnach dan wraidd y mynyddoedd, ac yn tori allan ar brydiau, fel pe byddent yn beiddio pob llywodraeth arnynt. Mae dwfr a thân wrth ein traed, a byddai rhwygiad bychan yn muriau eu carchar yn ddigon i lyncu cenedl. Ychydig dros bymtheg can' mlynedd oedd wedi myned heibio er pan wnaeth y pâr anufudd gellwair â phechod. Yn awr, "Yr Arglwydd a welodd mai aml oedd drygioni dyn ar y ddaiar, a bod holl fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn ddrygionus bob amser." Mae amynedd a goddefgarwch Duw yn fawr, ond nid ydynt fel ei allu, yn ddiderfyn. Gwelwyd eu terfyn pan ddywedodd yr Hollalluog, "Dileaf ddyn, yr hwn a greais, oddiar wyneb y ddaiar, o ddyn hyd anifail." Eto nid ewyllysiodd Duw lwyr-ddinystrio y byd a greodd, ond dechreu y cwbl o newydd eilwaith trwy un teulu dynol, ac un teulu o wahanol lwythau o anifeiliaid, fel ar y cyntaf. "Noah," gan hyny, "a gafodd ffafr yn ngolwg yr Arglwydd." Cyfarwyddwyd ef i ddarparu llestr nofiadwy i'w gadw ef a'i deulu, a'r pârau anifeiliaid. A phan oedd pob peth yn barod, "Daethant at Noah i'r arch bob yn ddau, o bob cnawd; a'r Arglwydd a gauodd arno."—Gen. vii.

---

## Y DILUW.

Felly galwyd deddf y dyfnder yn ol—y ddeddf a roddwyd i wahanu y dyfroedd oddiwrth y dyfroedd—a rhuthrodd moroedd mawrion yn un rhyferthwy creulon ar



NOAH A'I DEULU YN MYNED I'R ARCH.



Y DILUW.



NOAH YN ADEILADU ALLOR I DDUW.

draws eu gilydd unwaith eto, gan ysgubo ymaith o'u blaen bob olion o fywyd a threfn oddiar y ddaiar. Ni chyfryngai y ffurfafen mwy rhwng yr ystorfeydd dyfroedd uwchlaw iddynt, a'r llifeiriant odditanodd; ac ni wasanaethai argae creigiog gwely y môr i gadw rhag yr elfen danforawl: oblegid rhwygwyd ffynnonau y dyfnder mawr; gorchuddiwyd y mynyddoedd; a threngodd pob cnawd. "A'r diluw fu ddeugain niwrnod ar y ddaiar; a'r dyfroedd a gynyddasant, ac a godasant yr arch, a hi a godwyd oddiar y ddaiar." Ymddengys i'r dyfroedd bara i gynyddu ddeugain niwrnod, ac iddo bara yn y nerth hwnw am "ddeng niwrnod a deugain a chant;" ond yr oedd o ddechreuad y diluw hyd nes i'r ddaiar sychu oddeutu un mis ar ddeg; oblegid yn y chwe chanfed flwyddyn o fywyd Noah, yn yr ail fis, yr agorwyd ffenestri y nefoedd; ac ar yr unfed flwyddyn a chwe chant, ar y mis cyntaf, yr edrychodd Noah allan o'r arch, ac "wele sychasai wyneb y ddaiar."—GEN. vii.

## NOAH YN ADEILADU ALLOR I DDUW.

YR ydym yn darllen, nid yn unig i Noah gael ffafr yn ngolwg yr Arglwydd, ond hefyd ei fod yn ŵr cyfiawn. perffaith yn ei genedlaeth, ac iddo "rodio gyda Duw." Er anmherffeithrwydd ei garitor, yr hwn a ymddangosodd yn fuan ar ol hyn, amlygwyd ei dduwioldeb yn ei ymddygiad mor fuan ag y cafodd gyfleusdra ar ol dyfod allan o'r arch. Darparodd ar gyfer addoliad gweledig yr Arglwydd trwy godi allor i'w enw, ac offrymodd arni o'r anifeiliaid glân, yn ol yr arferiad a ddechreuodd gyda meibion Adda. "A'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth; a dywedodd yr Arglwydd yn ei galon, Ni chwanegaf felldithio y ddaiar mwy er mwyn dyn."—GEN. viii.

## Y CYFAMOD Â NOAH.

GALLASAI plant dynion, ar ol eu darostwng i un teulu, fyw mewn cymaint o ofn am ddyfodiad diluw drachefn, fel ag i'w hanghymwyso at drefniadau a llafur bywyd, oni buasai i'r Anfeidrol wneyd eu mheddwl yn dawel ar y pwnc, trwy hysbysiad pendant yn yr addewid yn yr adnod a goffawyd. Eglurwyd a chadarnhawyd hyn yn mhellach trwy gyfamod graslawn â Noah, yr hwn a gysylltwyd â ffafrau ac amodau newydd a hynod. Ni roddwyd i Adda ond cynyrch llysieuol yn unig yn fwyd, ac nid oes genym un awgrym fod cig wedi ei arfer i'r pwrpas hwnw gan ddyn hyd ar ol y diluw, pan ddywedodd Duw wrth y patriarch a'i deulu, "Eich ofn hefyd a'ch arswyd fydd ar holl fwystfilod y ddaiar, ac ar holl ehediaid y nefoedd, a'r hyn oll a ymsymudo ar y ddaiar, ac ar holl bysgod y môr ; yn eich llaw chwi y rhoddwyd hwynt." Ac yna y canlyn defnydd a chynwys y rhodd hon: "Pob ymsymudydd yr hwn sydd fyw, fydd i chwi yn fwyd ; fel y gwyrdd-lysieuyn y rhoddais i chwi bob dim." Dyma addewid a rhoddion newydd, yn cael eu cadarnhau yn weledig gan ddarlun prydferth y bwa, yr hwn sydd yn gydfynedol â bendith y gwlaw yn ei ffurf mwyaf tyner a hyfryd. "Dyma arwydd y cyfamod, yr hwn yr ydwyf fi yn ei roddi rhyngof fi â chwi, ac â phob peth byw ar y sydd gyda chwi, dros oesoedd tragywyddol. Fy mwa a roddais yn y cwmwl."—GEN. ix.

---

## TWR BABEL.

ODDEUTU dau gan' mlynedd ar ol y diluw, dywedir fod "yr holl ddaiar o un iaith ac un ymadrodd." Ymddengys fod cynydd plant dynion yn gwneyd ymfudiad



Y CYFAMOD A NOAH



TWR BABEL.



ADDEWID AM FAB I ABRAHAM.

helaeth yn anghenrheidiol, mae'n bosibl, er mwyn bywoliaeth. "A bu, a hwy yn ymdaith o'r dwyrain (tua'r dwyrain ar ymyl y ddalen), gael o honynt wastadedd yn nhir Sinar; ac yno y trigasant." Ymddengys fod adgof neu draddodiad o'r diluw yn para i'w haflonyddu, ac efallai i wastadedd lle nad oedd unrhyw fath o ddyogelwch (pe dygwyddasai gorlifiad), awgrymu i'r bobl y priodoldeb o ddarparu dyfais o'u heiddynt eu hunain ar gyfer yr amgylchiad. Dangosent duedd i ymddiried yn eu nherth eiddil eu hunain yn hytrach nag yn addewid Duw i'w tad Noah. "A hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Deuwch, gwnawn briddfeini, a llosgwn yn boeth: ac yr ydoedd ganddynt briddfeini yn lle ceryg, a chlai oedd ganddynt yn lle calch. A dywedasant, Moeswch, adeiladwn i ni ddinas, a thŵr, a'i nen hyd y nefoedd, a gwnawn i ni enw, rhag ein gwasgaru ar hyd wyneb yr holl ddaiar." Ond cymysgodd Duw eu hiaith, a rhoddasant i fyny adeiladu y ddinas.—Gen. xi.

---

## ADDEWID AM FAB I ABRAHAM.

Fel y dewiswyd Noab o fysg y dynion o flaen y diluw fel addolwr y gwir Dduw, felly y dewiswyd Abraham o fysg y teuluoedd dylynol. Dywedodd yr Arglwydd wrtho, "Dos allan o'th wlad, ac oddiwrth dy genedl, ac o dŷ dy dad, i'r wlad a ddangoswyf i ti; a mi a'th wnaf yn genedlaeth fawr." Ond aeth blynyddoedd heibio heb i Abraham gael mab. Dyma oedd prawf ei ffydd. Yr oedd yn driugain a phymtheg mlwydd oed pan gafodd yr addewid gyntaf am hiliogaeth; adnewyddwyd yr addewid pan oedd yn gant ond un; a chredodd i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. Ac er amheuon Sarah, bu yr Arglwydd yn ffyddlon i'w air, a hi a ymddug Isaac i Abraham pan oedd yn fab can' mlwydd.—Gen. xxi.

## GWRAIG LOT.

ER i'r Arglwydd addaw na ddinystriai holl hiliogaeth dyn trwy ddiluw mwy, ni ddywedodd na fuasai barnedigaethau yn cymeryd lle yn achlysurol ar bersonau, teuluoedd, dinasoedd, ac hyd y nod cenedloedd, er mwyn gwasanaethu dybenion ei lywodraeth foesol ar y byd. Aeth pechodau Sodom dros ben terfynau goddefgarwch dwyfol, ac er eiriolaeth daer Abraham tynghedwyd y ddinas i'r fflamiau trwy dymhestl o dân a brwmstan. Gofynwyd i deulu Lot, y rhai yn drugarog a hysbyswyd o'r digofaint oedd ar ddisgyn, i adael y ddinas, a pheidio gwneyd cymaint ac edrych yn ol, rhag eu dyfetha. Ond methodd gwraig Lot a pheidio taflu trem hiraethlawn yn ol ar olygfa y dialedd tanllyd. Profodd ei hanufudd-dod yn farwol iddi yn y fan. Tarawyd hi yn farw, a daeth yn golofn o halen.—GEN. xix.

---

## ABRAHAM YN OFFRYMU ISAAC.

RHODDWYD prawf ar ffydd nerthol Abraham yn Nuw pan roddwyd addewid am fab iddo dan amgylchiadau mor annhebygol, yn ol cwrs arferol natur. Ond yr oedd y prawf mwyaf llym a phoenus eto yn ei aros; gofynid ganddo wneyd gweithred ag yr oedd teimladau cryfaf tad yn ei herbyn. Yr oedd y plentyn hwn, mab yr addewid, unig gysur ei hen ddyddiau, ac ar yr hwn yr oedd ei holl obeithion am hiliogaeth yn gorphwys—yr oedd, yn ol gair pendant yr Arglwydd, i gael ei aberthu yn boethoffrwm ar fynydd cyfagos. Mae yn hynod na chynygiodd Abraham, ar yr achlysur hwn, wrthwynebu nac eiriol, fel yn achos Sodom, ac ni cheisiodd am estyniad yr amser. Cododd yn fore, a dygodd Isaac a'r holl bethau angenrheidiol at y gorchwyl, i'r man y dywedwyd wrtho gan



GWRAIG LOT.



ABRAHAM YN OFFRYMU ISAAC.



REBECA YN DIODI GWAS ABRAHAM.

Dduw. Dygodd y tân a'r gyllell yn ei law ; ac ni wnaeth gofyniad tarawiadol y llanc am yr offrwm wanhau mymryn ar ei benderfyniad. Yr oedd y drafodaeth wedi myned agos i'r pwynt pellaf y gallai ei ffydd fyned ; estynodd ei law, a chymerodd y gyllell i ladd ei fab ! Yr oedd wedi gwneyd digon ; ni fynai yr Arglwydd ychwaneg ; a chyda llais o'r nefoedd ataliodd yr arf. Ni chafwyd methiant yn ei ffydd na'i ddyledswydd ;—cafwyd hwrdd wedi ei ddal erbyn ei gyrn mewn dyrysni, ac felly cafwyd yr offrwm angenrheidiol mewn pryd.—GEN. xxii.

---

## REBECA YN DIODI GWAS ABRAHAM.

Y MAE hwn yn ddarlun prydferth o'r hen ddefodau dwyreiniol, ac nis gellir ei osod ger bron yn dda ond yn yr hanes yn Llyfr Genesis (pen. xxiv). Yr oedd y patriarch, yr hwn oedd yn awr yn ymdeithydd yn ngwlad Canaan, yn benderfynol na chai ei fab briodi âg un o'r Canaaneaid, ac anfonodd ei was, neu ei oruchwyliwr ffyddlawn i'w wlad ei hun, i ddewis gwraig i Isaac. Yr oedd y gwas, fel ei feistr, yn ddyn duwiol, a gweddïodd am gyfarwyddyd gan Dduw. "Ac efe a ddywedodd, O Arglwydd Dduw fy meistr Abraham, atolwg, pâr i mi lwyddiant heddyw ; a gwna drugaredd â'm meistr Abraham. A bydded, mai y llances y dywedwyf wrthi, Gogwydda, atolwg, dy ystên, fel yr yfwyf ; os dywed hi, Yf, a mi a ddiodaf dy gamelod di hefyd ; hòno a ddarperaist i'th was Isaac : ac wrth hyn y caf wybod wneuthur o honot ti drugaredd â'm meistr. A bu, cyn darfod iddo lefaru, wele Rebecca yn dyfod allan. A'r gwas a redodd i'w chyfarfod, ac a ddywedodd, Atolwg, gad i mi yfed ychydig ddwfr o'th ystên. A hi a ddywedodd, Yf, fy meistr." Rhyngodd bodd i'r Arglwydd trwy yr arwydd hwn ateb dymuniad y gwas a'i feistr."—GEN. xxiv

## ISAAC YN BENDITHIO JACOB.

Y MAE hon yn olygfa darawiadol, ac yn un sydd yn arddangos yn ffyddlon gymysgedd da a drwg y cymeriad patriarchaidd. Dylid cofio i Esau, ar adeg o drachwant, anystyriaeth, a lludded, mor bell ag oedd ar ei law ef wneyd, werthu ei enedigaeth-fraint i Jacob am bryd o gawl—gorchwyl digon diglod i'r naill a'r llall. I gadarnhau y weithred hon, a'i gwneyd yn effeithiol, dyfeisiodd Rebeca, mam Jacob, lwybr y gallai ei hoff fab dwyllo ei gwr dall ac oedranus: y ddyfais oedd iddo fyned i bersonoli Esau, yr hwn yr oedd ei dad wedi ei anfon am helwriaeth, er nerthu ei alluoedd gweiniaid cyn eu galw ger ei fron i'w bendithio. Prin yr oedd Isaac wedi tywallt ei fendith gyfoethog ar yr hwn oedd o'i flaen, cyn i Esau ddychwelyd a chael y twyll allan; ond yr oedd yn hy ddiweddar i gael ei hawl-fraint yn ol. Bendithiais ef, ebe y tad oedranus, a bendigedig hefyd fydd efe. Nid oes mewn llenyddiaeth henafol ddim i'w gydmaru â'r hanes hon mewn gwir deimlad a symlrwydd.—GEN. xxvii.

---

## BREUDDWYD JACOB.

"A JACOB a aeth allan o Beer-seba, ac a aeth tua Haran. Ac a ddaeth ar ddamwain i fangre, ac a letyodd yno dros nos; oblegyd machludo yr haul: ac efe a gymerth o geryg y lle hwnw, ac a osododd dan ei ben, ac a gysgodd yn y fan hòno. Ac efe a freuddwydiodd: ac wele ysgol yn sefyll ar y ddaiar, a'i phen yn cyrhaeddyd i'r nefoedd: ac wele, angelion Duw yn dringo ac yn disgyn ar hyd-ddi. Ac wele, yr Arglwydd yn sefyll arni: ac efe a ddywedodd, Myfi yw Arglwydd Dduw Abraham dy dad, a Duw Isaac; y tir yr wyt ti yn gorwedd arno, i ti y



ISAAC YN BENDITHIO JACOB.



BREUDDWYD JACOB.



JACOB YN YMDRECHU A'R ANGEL.

rhoddaf ef, ac i'th had. A'th had di fydd fel llwch y ddaiar; a thi a dori allan i'r gorllewin, ac i'r dwyrain, ac i'r gogledd, ac i'r dehau: a holl deuluoedd y ddaiar a fendithir ynot ti, ac yn dy had di. Ac wele fi gyda thi; ac mi a'th gadwaf pa le bynag yr elych, ac a'th ddygaf drachefn i'r wlad hon: o herwydd ni'th adawaf, hyd oni wnelwyf yr hyn a leferais wrthyt. A Jacob a ddeffrôdd o'i gwsg; ac a ddywedodd, Mor ofnadwy yw y lle hwn! nid oes yma onid tŷ i Dduw, a dyma borth y nefoedd."—GEN. xxviii.

---

## JACOB YN YMDRECHU A'R ANGEL.

YN y bennod hon, cawn fod Jacob, er y fantais a enillodd ar ei frawd Esau, yn barod i ymostwng ger ei fron, a deisyfu ei ffafr a'i oddefgarwch, gyda rhoddion a'r ymadroddion mwyaf gostyngedig. Tra yr oedd mewn pryder, y nos cyn cyfarfod â'i frawd, ymddangosodd person dyeithr iddo, â'r hwn yr ymdrechodd Jacob hyd nes i'r gŵr dyeithr gyffwrdd â chyswllt ei forddwyd, a'i wneyd yn gloff o'i glun. "A'r angel a ddywedodd, Gollwng fi ymaith; oblegyd y wawr a gyfododd. Yntau a atebodd, Ni'th ollyngaf oni'm bendithi. Hefyd efe a ddywedodd wrtho, Beth yw dy enw? Ac efe a atebodd, Jacob. Yntau a ddywedodd, Mwyach ni elwir dy enw di Jacob, ond Israel: oblegyd cefaist nerth gyda Duw fel tywysog, a chyda dynion, ac a orchfygaist. A Jacob a ymofynodd, ac a ddywedodd, Mynega atolwg dy enw. Ac yntau a atebodd, I ba beth y gofyni hyn am fy enw i? Ac yno efe a'i bendithiodd ef. A Jacob a alwodd enw y fan Penïel: (hyny yw, gwyneb Duw); oblegyd gwelais Dduw wyneb yn wyneb, a diangodd fy einioes."—GEN. xxxii.

## BREUDDWYD JOSEPH.

Mae y ffaith fod y patriarch rhinweddol ac enwog hwn yn hoff blentyn ei dad mor hysbys, fel nad oes angen egluro amgylchiadau ei fywyd boreuol, trwy y rhai y daeth yn wrthrych eiddigedd ei frodyr angharedig. Mae yr hanes fel hyn ; wedi iddo adrodd ei freuddwydion : "Ei dad a feiodd arno, ac a ddywedodd wrtho, Pa freuddwyd yw hwn a freuddwydiaist ti? Ai gan ddyfod y deuwn ni, mi, a'th fam, a'th frodyr, i ymgrymu i lawr i ti? A'i frodyr a genfigenasant wrtho ef; ond ei dad a ddaliodd ar y peth." Ac nid anghofiodd ei frodyr ychwaith; cyd-fwriadasant yn fuan yn ei erbyn, ac o'r diwedd, y maent yn

## GWERTHU JOSEPH I'R AIPHT.

"A Joseph," wrth orchymyn ei dad, "a aeth ar ol ei frodyr, ac a'u cafodd hwynt yn Dothan. Hwythau a'i canfuant ef o bell; a chyn ei ddynesu ef atynt, hwy a gyd-fwriadasant yn ei erbyn ef, i'w ladd ef. A dywedasant wrth eu gilydd, Wele y breuddwydiwr yn dyfod. Deuwch gan hyny yn awr, a lladdwn ef, a thaflwn ef yn un o'r pydewau ; a dywedwn, Bwystfil drwg a'i bwytäodd ef: yna y cawn weled beth a ddaw o'i freuddwydion ef A Reuben a glybu, ac a'i hachubodd ef o'u llaw hwynt; ac a ddywedodd, Na laddwn ef. Reuben a ddywedodd hefyd wrthynt, Na thywelltwch waed; bwriwch ef i'r pydew hwn sydd yn yr anialwch, ac nac estynwch law arno: fel yr achubai ef o'u llaw hwynt, i'w ddwyn eilwaith at ei dad. A bu, pan ddaeth Joseph at ei frodyr, iddynt ddiosg ei siaced oddiam Joseph, sef y siaced fraith ydoedd am dano ef. A chymerasant ef, a thaflasant i bydew: a'r pydew oedd wag heb ddwfr ynddo. A hwy a eisteddasant i fwyta bwyd; ac a ddyrchafasant eu llygaid,



BREUDDWYD JOSEPH.



GWERTHU JOSEPH I'R AIPHT.



DWYN SIACED JOSEPH I'W DAD.

ac a edrychasant, ac wele fintai o Ismaeliaid yn dyfod o Gilead, yn myned i waered i'r Aipht, a'u camelod yn dwyn llysiau, a balm, a myrr. A dywedodd Judah wrth ei frodyr, Pa lesâd a fydd os lladdwn ein brawd, a chelu ei waed ef? Deuwch, a gwerthwn ef i'r Ismaeliaid, ac na fydded ein llaw ni arno ef; oblegyd ein brawd ni a'n cnawd ydyw efe. A'i frodyr a gytunasant. Ac a werthasant Joseph i'r Ismaeliaid er ugain darn o arian: hwythau a ddygasant Joseph i'r Aipht."—GEN. xxxvii.

---

## DWYN SIACED JOSEPH I'W DAD.

YCHYDIG dybiai'i frodyr 'nawr
Y caent ei weled mwy;
A'i siaced fraith yn ngwaed y myn,
Yn ffals, drochasant hwy.

A ffwrdd a hwy i dŷ eu tad,
Gan ffugio trallod bron;
"Mewn gofid dygwn atat ti
Y siaced waedlyd hon.

"Drwg-dybiem ni mai siaced fraith
Dy Joseph anwyl yw,
A chawsom hi ger lleoedd mae
Bwystfilod drwg yn byw.

"D'wed, nhad, adwaenost ti y wisg,
Maint, llun, ei siaced ef?"
"Oh! ïe, ïe!—bwystfil drwg
Yn ddiau llarpiodd ef!

"Na cheisiwch fy nghysuro mwy,
Ni thycia dim i mi;
Yn benllwyd syrthiaf at fy mab
I lawr i'r beddrod du."—GEN. xxxvii.

## JOSEPH YN GWRTHSEFYLL TEMTASIWN.

YMDDANGOSAI cyflwr Joseph, ar ol ei adael a'i werthu gan ei frodyr, yn anobeithiol; nid oedd dim yn y golwg o'i flaen ond caethiwed blin, a hyny dros ystod ei fywyd. Ond yr oedd mwy o ystyr brophwydol yn ei freuddwydion nag oedd ei frodyr nac yntau yn ddeall ar y pryd. Hyn oedd ei ddyogelwch, fod Duw gyda Joseph, a chyfarwyddwyd y caredig Putipher, swyddog dan Pharaoh, i brynu y llanc, yr hwn a ddyrchafodd i anrhydedd, fel arolygydd neu oruchwyliwr ar dŷ a meddiannau ei feistr. Ond yn y fan hon ymosododd profedigaeth newydd ar Joseph. Nid oedd gwraig Putipher yn ddynes rinweddol, a gosododd fagl yn ei lwybr, a themtiodd ef i gamarfer ymddiried ei feistr. Ond gwrthwynebodd Joseph, ac ymresymodd gan ddywedyd, "Pa fodd gan hyny, y gallaf wneuthur y mawr-ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?" GEN. xxxix.

---

## RHODDI JOSEPH YN Y CARCHAR.

PAN drodd Joseph yn erbyn amcan drwg gwraig ei feistr, newidiodd ei chariad anmhriodol hi yn gâs, ac yn ddymuniad am ddïal; felly cyhuddodd y gŵr ieuanc wrth ei gŵr o'r drwg y bu hi, mewn bwriad, yn euog o hono; a chafodd ei dymuniad. "A phan glybu ei feistr ef eiriau ei wraig, y rhai a lefarodd hi wrtho ef, gan ddywedyd, Yn y modd hwn y gwnaeth dy was di i mi; yna yr enynodd ei lid ef. A meistr Joseph a'i cymerth ef, ac a'i rhoddes yn y carchardy, yn y lle yr oedd carcharorion y brenin yn rhwym. Ac yno y bu efe yn y carchardy. Ond yr Arglwydd oedd gyda Joseph, ac a ddangosodd iddo ef drugaredd, ac a roddes ffafr iddo yn ngolwg penaeth y carchardy. A phenaeth y carchardy a roddes



JOSEPH YN GWERTHSEFYLL TEMTASIWN.



RHODDI JOSEPH YN Y CARCHAR.



JOSEPH YN DEHONGLI BREUDDWYDION.

dan law Joseph yr holl garcharorion y rhai oedd yn y carchardy; a pha beth bynag a wnaent yno, efe oedd yn ei wneuthur."—Gen. xxxix.

---

## JOSEPH YN DEONGLI BREUDDWYDION.

Pa un a oedd Joseph yn deall ystyr ei freuddwydion ei hun, nis gwyddom; ond ymddengys i'r Argwlydd ddatguddio ystyr breuddwydion eraill iddo er mwyn ei ddyrchafiad. Darfu i drulliad a phobydd Pharaoh bechu yn erbyn eu harglwydd, brenin yr Aipht, a rhoddwyd hwy yn y carchar, dan ofal Joseph. Yno, yr un noswaith, breuddwydiasant ill dau am amgylchiadau oedd iddynt hwy yn awr yn anesboniadwy. Aflonyddwyd eu meddyliau gan eu breuddwydion, ac yr oedd eu hwynebau wedi syrthio pan ymwelodd Joseph â hwy yn y boreu. Wedi holi yr achos, adroddasant eu breuddwydion, gan awyddu yn fawr am ddeongliad. "A Joseph a ddywedodd wrthynt, Onid i Dduw y perthyn deongli? mynegwch, atolwg, i mi. A'r pen-trulliad a fynegodd ei freuddwyd i Joseph; ac a ddywedodd wrtho, Yn fy mreuddwyd yr oeddwn, ac wele winwydden o'm blaen. Ac yn y winwydden yr oedd tair cainc: ac yr oedd hi megys yn blaen-darddu; ei blodeuyn a dorasai allan, ei grawn-sypiau hi a ddug rawnwin addfed. Hefyd yr oedd cwpan Pharaoh yn fy llaw: a chymerais y grawnwin, a gwesgais hwynt i gwpan Pharaoh; a rhoddais y cwpan yn llaw Pharaoh. A Joseph a ddywedodd wrtho, Dyma ei ddeongliad ef. Tri diwrnod yw y tair cainc. O fewn tri diwrnod eto Pharaoh a ddyrchafa dy ben di, ac a'th rydd di eilwaith yn dy le; a rhoddi gwpan Pharaoh yn ei law ef, fel y buost arferol yn y cyntaf, pan oeddyt drulliad iddo. Eto, cofia fi gyda thi pan fo daioni i ti, a gwna, atolwg, â mi drugaredd, a chofia fi wrth Pharaoh."—Gen. xl.

## BREUDDWYD PHARAOH.

Yn mhen tua dwy flynedd, cafodd yr yspryd prophwydoliaeth a gynorthwyodd Joseph i ddeongli breuddwydion ei gyd-garcharorion, orchwyl mwy pwysig, sef deongli breuddwydion Pharaoh, brenin yr Aipht. Anghofiodd y trulliad ei addewid i Joseph yn y carchar, hyd nes i freuddwyd Pharaoh, a'r anghen am ddeonglydd, beri iddo feddwl am dano. Anfonodd y brenin i gyrchu y llanc Hebreaidd. "A Pharaoh a ddywedodd wrth Joseph, Wele fi yn fy mreuddwyd yn sefyll ar fin yr afon. Ac wele yn esgyn o'r afon saith o wartheg tewion o gig, a theg yr olwg; ac mewn gweirglodd-dir y porent. Wele hefyd saith o wartheg eraill yn esgyn ar eu hol hwynt, truain, a drwg iawn yr olwg, ac yn gulion o gig: ni welais rai cynddrwg a hwynt yn holl dir yr Aipht. A'r gwartheg culion a drwg a fwytasant y saith muwch tewion cyntaf. Ac er eu myned i'w boliau, ni wyddid iddynt fyned i'w boliau; ond yr olwg arnynt oedd ddrwg, megys yn y dechreuad. Yna mi a ddeffroais. Gwelais hefyd yn fy mreuddwyd, ac wele saith dywysen lawn a theg, yn cyfodi o'r un gorsen. Ac wele saith o dywys mân, teneuon, wedi deifio gan ddwyrein-wynt, yn tyfu ar eu hol hwynt. A'r tywysenau teneuon a lyncasant y saith dywysen dda: a mi a ddywedais hyn wrth y dewiniaid; ond nid oedd a'i deonglai i mi."—Gen. xli.

---

## JOSEPH YN DEONGLI BREUDDWYD PHARAOH.

Deonglodd Joseph y ddau freuddwyd fel yn cynwys un ystyr, ond wedi ei roddi gyda phwysnod dyblyg; y byddai saith mlynedd o lawnder yn ngwlad yr Aipht, y rhai a ganlynid gan newyn mor drwm nes y llyncid yr holl gynyrch blaenorol, fel na byddai son am dano. Felly,



BREUDDWYD PHARAOH.



JOSEPH YN DEONGLI BREUDDWYD PHARAOH.



DYRCHAFIAD JOSEPH.

cynghorodd ef i drefnu mesurau i ystorio ŷd, dan ofal gŵr doeth a medrus, i'r perwyl hwnw. "A dywedodd Pharaoh wrth ei weision, A gaem ni ŵr fel hwn, yr hwn y mae Yspryd Duw ynddo? Dywedodd Pharaoh hefyd wrth Joseph, Gan wneuthur o Dduw i ti wybod hyn oll, nid mor ddeallgar a doeth neb â thydi. Tydi a fyddi ar fy nhŷ, ac wrth dy air di y llywodraethir fy mhobl oll: yn y deyrngadair yn unig y byddaf fwy nâ thi."—Gen. xli.

---

## DYRCHAFIAD JOSEPH.

Yr oedd yn beth digon hapus edrych ar fympwy pen-aduriaid dwyreiniol gynt yn gwneyd ambell dro da, fel y gwna Pharaoh brenin yr Aipht â Joseph yn yr amgylchiad hwn. Gwyddom pa mor dost oedd y gwahaniaeth, pan ar ol hyn y cododd brenin arall, yr hwn nid adnabuasai mo Joseph. Cawn hanes ei ddyrchafiad yn y geiriau hyn:—"Yna y dywedodd Pharaoh wrth Joseph, Edrych, gosodais di ar holl wlad yr Aipht. A thynodd Pharaoh ei fodrwy oddi ar ei law, ac ai rhoddes hi ar law Joseph, ac a'i gwisgodd ef mewn gwisgoedd sidan, ac a osododd gadwyn aur am ei wddf ef: ac a wnaeth iddo farchogaeth yn yr ail gerbyd oedd ganddo; a llefwyd o'i flaen ef, Abrec: felly y gosodwyd ef ar holl wlad yr Aipht." Fel hyn y codwyd, yr hwn a fu unwaith yn gaethwas diymgeledd, ac yn wrthddrych cenfigen a chreulondeb ei frodyr, i fyny, nid yn unig o gaethiwed a pherygl, ond, trwy ffafr arbenig Duw ei dad, ac offerynoliaeth brenin galluog daiarol, dyrchafwyd ef i fod yn nesaf at yr orsedd; a chyda'r anrhydedd mwy fyth o achub, trwy ei rag-ddarbodaeth, ei ddoethineb, a'i hynawsedd, cenedl gyfan rhag trengu o newyn; a chadw ei rieni a'i frodyr hefyd, fel y cawn weled yn y diwedd, dros ystod cyfyngder yr un tymhor.—Gen. xli.

## CASGLU A CHYFRANU YR YD.

"A'R ddaiar a gnydiodd dros saith mlynedd yr amldra yn ddyrneidiau. Yntau a gasglodd holl ymborth y saith mlynedd a fu yn ngwlad yr Aipht, ac a roddes ymborth i gadw yn y dinasoedd: ymborth y maes yr hwn fyddai o amgylch pob dinas, a roddes efe i gadw ynddi. A Joseph a gynullodd ŷd fel tywod y môr, yn dra lliosog, hyd oni pheidiodd a'i rifo: oblegyd yr ydoedd heb rifedi. Darfu y saith mlynedd o amldra; a'r saith mlynedd newyn a ddechreuasant ddyfod, fel y dywedasai Joseph: ac yr oedd newyn yn yr holl wledydd; ond yn holl wlad yr Aipht yr ydoedd bara. A phan newynodd holl wlad yr Aipht, y bobl a waeddodd ar Pharaoh am fara: a Pharaoh a ddywedodd wrth yr Aiphtiaid, Ewch at Joseph; yr hyn a ddywedo efe wrthych, gwnewch. Y newyn hefyd ydoedd ar holl wyneb y ddaiar: a Joseph a agorodd yr holl leoedd yr ydoedd ŷd ynddynt, ac a werthodd i'r Aiphtiaid; oblegid y newyn oedd drwm yn ngwlad yr Aipht. A daeth yr holl wledydd i'r Aipht at Joseph i brynu; oherwydd y newyn oedd drwm yn yr holl wledydd."—GEN. xli.

---

## EI FRODYR YN CYFARCH JOSEPH.

Y MAE yn weddus i ni yma alw i gof ddau freuddwyd Joseph, a'r cerydd dirmygus a dynodd eu deongliad eglur hwy hyd y nod oddiwrth ei dad. "Pa freuddwyd yw hwn a freuddwydiaist ti? Ai gan ddyfod y deuwn ni, mi, a'th fam, a'th frodyr, i ymgrymu i lawr i ti?" Yn awr gadewch i ni weled. "A meibion Israel a ddaethant i brynu yn mhlith y rhai oedd yn dyfod: oblegyd yr ydoedd y newyn yn ngwlad Canaan. A Joseph oedd lywydd ar y wlad, ac oedd ei hun yn gwerthu i holl bobl y wlad: a brodyr Joseph a ddeathant, ac a ymgrymasant i lawr iddo



CASGLU A CHYFRANU YR YD.



EI FRODYR YN CYFARCH JOSEPH.



CWPAN JOSEPH YN SACH BENJAMIN.

ef ar eu hwynebau. A Joseph a ganfu ei frodyr, ac a'u hadnabu hwynt, ac a ymddieithrodd iddynt hwy, ac a lefarodd wrthynt yn arw, ac a ddywedodd wrthynt, O ba le y daethoch? Hwythau a atebasant, O wlad Canaan, i brynu lluniaeth."—GEN. xlii.

---

## CWPAN JOSEPH YN SACH BENJAMIN.

ER fod Joseph yn ddyn duwiol, a'i garitor yn dysgleirio yn mysg enwogion yr Hen Destament, eto nis gellir dyweyd ei fod yn berffaith, na bod ei ymddygiad at ei frodyr y tro hwn yn ganmoladwy. Rhaid i ni edrych ar y ddyfais yn feius, am ei bod yn cynwys cyhuddiadau y gwyddai eu bod yn annghywir, ac yn peri blinder i feddwl trallodus ei dad, yr hwn oedd yn berffaith ddieuog yn ei achos—er fod ei amcan ef yn y diwedd yn dda. Ar ol gwledda ei frodyr, a Benjamin yn eu mysg, gorchymynodd lenwi eu sachau o fwyd, a dodi arian pob un yr ail waith yn ngenau ei sach; a hefyd, y tro hwn, ddodi ei gwpan arian ei hun yn sach Benjamin, ei frawd ieuengaf. "Hwythau a aethant allan o'r ddinas. Ac nid aethant nebpell, pan ddywedodd Joseph wrth yr hwn oedd olygwr ar ei dŷ, Cyfod, a dilyn ar ol y gwŷr: a phan oddiweddech hwynt, dywed wrthynt, Paham y talasoch ddrwg am dda? Onid dyma y cwpan yr yfai fy arglwydd ynddo, ac yr arferai ddewiniaeth wrtho? Drwg y gwnaethoch yr hyn a wnaethoch." Y dynion, yn gwybod eu diniweidrwydd, a wadasant y lladrad; ac yn fyrbwyll, addawsant y cai y neb y ceid y cwpan gydag ef farw, ac y byddent hwythau yn gaethweision i'w berchen. "A hwy a ddisgynasant bob un ei sach i lawr, ac a agorasant bawb ei ffetan; a'r cwpan a gafwyd yn sach Benjamin; yna y rhwygasant eu dillad, ac a byniasant bawb ar ei asyn, ac a ddychwelasant i'r ddinas."—GEN. xliv.

## CYHUDDO Y BRODYR O LADRAD.

PENDERFYNODD Joseph gario ei ddyfais allan i'r diwedd, a thaflu ei frodyr eto i galedi a dychryn am ddrwg na wyddent ddim am dano. Wedi dychwelyd aethant eilwaith i dŷ Joseph, syrthiasant i lawr yn ymostyngar a dychrynedig ger ei fron, a dysgwylient yn ddystaw am y cyhoeddiad newydd o ladrad a ddygid mor anesboniadwy yn eu herbyn. Wedi i Joseph wrando arnynt yn gwneyd ei hamddiffyniad, a gofyn ganddynt roddi Benjamin i fyny iddo ef, adroddodd Judah, yn y modd mwyaf effeithiol, yr holl drafodaeth â'u tad o'r dechreu i'r diwedd; a dybenodd ei araeth gyda chynyg rhoddi ei hunan i fyny yn ddewrwych yn lle ei frawd, colli yr hwn ddygai benllwydni ei dad "mewn gofid i fedd."—GEN. xliv.

---

## JOSEPH YN HYSBYSU EI HUN.

YN awr rhuthrodd teimladau goreu Joseph allan fel yr haul o'r cwmwl bygythiol a'i cysgodai. "Yna Joseph ni allai ymatal ger bron y rhai oll oedd yn sefyll gydag ef: ac efe a lefodd, Perwch allan bawb oddiwrthyf. Yna nid arhosodd neb gydag ef, pan ymgydnabu Joseph â'i frodyr. Ac efe a gododd ei lef mewn wylofain: a chlybu yr Aiphtiaid, a chlybu tŷ Pharaoh. A Joseph a ddywedodd wrth ei frodyr, Myfi yw Joseph; ai byw fy nhad eto? A'i frodyr ni fedrent ateb iddo; oblegyd brawychasent ger ei fron ef. Joseph hefyd a ddywedodd wrth ei frodyr, Dyneswch, atolwg, ataf fi. Hwythau a ddynesasant. Yntau a ddywedodd, Myfi yw Joseph eich brawd chwi, yr hwn a werthasoch i'r Aipht. Weithian gan hyny na thristewch, ac na ddigiwch wrthych eich hunain, am werthu o honoch fyfi yma; oblegyd i achub einioes yr hebryngodd Duw fyfi o'ch blaen chwi. Oblegyd dyma ddwy flynedd o'r newyn o fewn y wlad; ac efe a fydd eto bum mlynedd, y



CYHUDDO Y BRODYR O LADRAD.



JOSEPH YN HYSBYSU EI HUN.



JOSEPH YN ANFON ANRHEGION I'W DAD.

rhai a fydd heb nac âr medi. A Duw a'm hebryngodd i o'ch blaen chwi, i gadw i chwi hiliogaeth yn y wlad, ac i beri bywyd i chwi, trwy fawr ymwared. Ac yr awr hon nid chwi a'm hebryngodd i yma, ond Duw. Brysiwch, ac ewch i fyny at fy nhad, a dywedwch wrtho, Fel hyn y dywed dy fab Joseph : Duw a'm gosododd i yn arglwydd ar yr holl Aipht : tyred i waered ataf : nac oeda. A chai drigo yn ngwlad Gosen, a bod yn agos ataf fi, ti a'th feibion, a meibion dy feibion, a'th ddefaid, a'th wartheg a'r hyn oll sydd genyt."—GEN. xlv.

---

## JOSEPH YN ANFON ANRHEGION I'W DAD.

LLAWENYCHODD Pharaoh brenin yr Aipht pan ddeallodd mai brodyr Joseph oedd y gwŷr a ddaethent i brynu ŷd, a chymhellodd hwy, a'u tad, a'u holl eiddo, i adael Canaan ar unwaith, a gwneyd eu trigfa yn yr Aipht, a darparodd gerbydau at eu gwasanaeth. At y ffafrau hyn ychwanegodd Joseph anrhegion o'i eiddo ei hun : "I bob un o honynt oll y rhoddes bâr o ddillad : ond i Benjamin y rhoddes drichant o ddarnau arian, a phum' pâr o ddillad. Hefyd i'w dad yr anfonodd fel hyn ; deg o asynod yn llwythog o ddâ yr Aipht, a deg o asenod yn dwyn ŷd, bara, a bwyd i'w dad ar hyd y ffordd." A daethant i wlad Canaan "at eu tad Jacob, ac a fynegasant iddo, gan ddywedyd, Y mae Joseph eto yn fyw, ac y mae yn llywodraethu ar holl wlad yr Aipht. Yna y llesgäodd ei galon yntau ; oblegyd nid oedd yn eu credu. Traethasant hefyd iddo ef holl eiriau Joseph, y rhai a ddywedasai efe wrthynt hwy. A phan ganfu efe y cerbydau a anfonasai Joseph i'w ddwyn ef, yna y bywiogodd yspryd Jacob eu tad hwynt. A dywedodd Israel, Digon ydyw ; y mae Joseph fy mab eto yn fyw : âf, fel y gwelwyf ef cyn fy marw."—GEN. xlv.

## JACOB A JOSEPH YN CYFAROD A'U GILYDD

DANGOSIR duwioldeb yr hen batriarch Jacob, a'r ffafr uchel oedd iddo gyda'r Duw yr ymddiriedai ef a'i dadau ynddo, yn y chweched bennod a deugain o Genesis. Cymerodd yr hen ŵr ei daith yn hyderus a llawen i wlad yr Aipht, yn cael ei gymhell yno gan raglaw galluog y wlad, ei hoff fab, Joseph. "Yna y cychwynodd Israel, a'r hyn oll oedd ganddo, ac a ddaeth i Beerseba, ac a aberthodd ebyrth i Dduw ei dad Isaac. A llefarodd Duw, Myfi yw Duw, Duw dy dad: nac ofna fyned i waered i'r Aipht; canys gwnaf di yno yn genedlaeth fawr." Wedi ei gefnogi fel hyn, aeth Jacob rhagddo. "Ac efe a anfonodd Judah o'i flaen at Joseph, i gyfarwyddo ei wyneb ef i Gosen: yna y daethant i dir Gosen. A Joseph a a baratôdd ei gerbyd, ac a aeth i fynu i gyfarfod Israel ei dad i Gosen: ac a ymddangosodd iddo: ac efe a syrthiodd ar ei wddf ef, ac a wylodd ar ei wddf ef enyd. A dywedodd Israel wrth Joseph, Byddwyf farw bellach, wedi i mi weled dy wyneb, gan dy fod di yn fyw eto."—GEN. xlvi.

---

## DWYN JACOB GERBRON PHARAOH.

WEDI i Joseph ddwyn rhai o'i frodyr gerbron Pharaoh, a hysbysu eu galwedigaeth i'r brenin, ac iddynt, fel y rhaghysbysodd, gael derbyniad caredig, dygodd ei dad oedranus ger ei fron. "A dug Joseph Jacob ei dad, ac a'i gosododd gerbron Pharaoh: a Jacob a fendithiodd Pharaoh. A dywedodd Pharaoh wrth Jacob, Pa faint yw dyddiau blynyddoedd dy einioes di? A Jacob a ddywedodd wrth Pharaoh, Dyddiau blynyddoedd fy ymdaith ydynt ddeg ar hugain a chan' mlynedd: ychydig a drwg fu dyddiau blynyddoedd fy einioes, ac ni chyrhaeddasant ddyddiau blynyddoedd einioes fy nhadau, yn nyddiau eu



JACOB A JOSEPH YN CYFARFOD A'U GILYDD.



DWYN JACOB GERBRON PHARAOH.



GALAR MEIBION JACOB AR OL EU TAD.

cymdaith hwynt. A bendithiodd Jacob Pharaoh, ac a aeth allan o wydd Pharaoh."—Gen. xlvii.

---

## GALAR MEIBION JACOB AR OL EU TAD.

Yr oedd yr hen batriach enwog bellach, ar ol byw dwy-flynedd-ar-bymtheg yn ngwlad yr Aipht, mewn heddwch a llawnder, gyda'i feibion, a meibion ei feibion, yr oedd yn tynu at ddiwedd ei daith ddaiarol, yr hon a gynwysai gant a saith a deugain o flynyddoedd. Wedi cael addewid oddiwrth Joseph y gwnaethai ei gladdu yn meddrod ei deulu yn Nghanaan, bendithiodd yn gyntaf ddau fab Joseph, gan groesi ei freichiau, fel y byddai ei law ddeheu ar ben Ephraim, mab ieuangaf Joseph, i'r hwn y rhodd-odd y flaenoriaeth yn lle Manasseh. Yna y galwodd Jacob ei feibion ei hun o'i amgylch, a thraddododd y cyfarchiad prophwydol iddynt fel eu tad, ar yr hwn y crogai mor hynod dynged ddyfodol eu hiliogaeth. Pan orphenodd Jacob orchymyn i'w feibion, efe a dynodd ei draed i'r gwely, ac a fu farw ; a chasglwyd ef at ei bobl. A Joseph a aeth i fynu i gladdu ei dad : a holl weision Pharaoh, sef henuriaid ei dŷ ef, a holl henuriaid gwlad yr Aipht, a aethant i fynu gydag ef, a holl dŷ Joseph, a'i frodyr, a thŷ ei dad : eu rhai bach yn unig, a'u defaid, a'u gwartheg, a adawsant yn nhir Gosen. Ac aeth i fynu gydag ef gerbydau, a gwŷr meirch hefyd : ac yr oedd yn llu mawr iawn. A hwy a ddaethant i lawr-dyrnu Atad, yr hwn sydd dros yr Iorddonen ; ac a alarasant yno alar mawr, a thrwm iawn : canys gwnaeth alar dros ei dad saith niwrnod. Pan welodd y Canaaneaid, y rhai oedd yn preswylio yn y wlad, y galar yn llawr-dyrnu Atad ; yna y dywedasant, Dyma alar trwm gan yr Aiphtiaid."—Gen. l.

## MERCH PHARAOH YN CAEL MOSES.

YN mhen oddeutu haner can' mlynedd ar ol marwolaeth Joseph, cododd brenin arall yn yr Aipht o'r enw Pharaoh, yr hwn nid adwaenai mo Joseph, a'r hwn a edrychai ar feibion Israel, y rhai oeddent yn awr wedi cynyddu yn ddirfawr, fel treiswyr blin a pheryglus; felly ymgynghorodd â'i weision, a phenderfynodd ddarostwng a gorthrymu yr Israeliaid trwy y llafur mwyaf caled a gormesol. Ond po fwyaf y gorthryment hwynt, mwyaf yr amlhaent ac y cynyddent. Yna gorchymynodd i holl fabanod gwryw y bobl hyn gael eu dinystrio; ond ymddengys i'r gorchymyn hwn gael ei ysgoi yn ddirgelaidd. Yn mysg y babanod condemniedig a achubwyd, yr oedd plentyn o lwyth Levi, yr hwn a guddiwyd dri mis gan ei fam; ond pan nad allai ei guddio yn hwy, ymdaflodd ar Ragluniaeth am y canlyniad. Ffurfiodd fath o gwch neu gawell o lafrwyn, dwbiodd ef â chlai â phŷg, rhoddodd y baban ynddo yn yr hesg ar fin yr afon, a pharodd i'w chwaer ei wylio o bell. Daeth merch Pharaoh, yn ol defodau yr amseroedd hyny, i ymolchi yn yr afon; "a phan welodd y cawell yn nghanol yr hesg, anfonodd ei llawforwyn i'w gyrchu. Ac wedi iddi ei agoryd, hi a ganfu y bachgen; ac wele y plentyn yn wylo; a hi a dosturiodd wrtho, ac a ddywedodd, Un o blant yr Hebreaid yw hwn." Yna, gorchymynodd i'w llawforwyn gyrchu mamaeth i'r bachgen; hithau yn ddiarwybod a aeth, ac a gyrchodd fam y plentyn, i ofal yr hon y rhoddwyd ef i'w fagu.—EXOD. ii.

---

## DUW YN GALW MOSES.

Y PLENTYN a gadwyd yn y ffordd hynod hon oedd wedi ei fwriadu gan Ragluniaeth i gyflawni y dyledswyddau pwysicaf, efallai, a ddisgynodd i ran dyn erioed. Tyfodd



MERCH PHARAOH YN CAEL MOSES.



DUW YN GALW MOSES.



TROI GWIALEN MOSES YN SARPH.

i fyny a daeth yn fugail i Jethro ei dad-yn-nghyfraith. Tra yn y sefyllfa isel hon, "Angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo mewn fflam dân o ganol perth: ac efe a edrychodd, ac wele y berth yn llosgi yn dân, a'r berth heb ei difa. A dywedodd Moses, Mi a dröaf yn awr, ac a edrychaf ar y weledigaeth fawr hon, paham nad yw y berth wedi llosgi. A Duw a alwodd arno o ganol y berth, ac a ddywedodd, Moses, Moses. A dywedodd yntau, Wele fi. Ac efe a ddywedodd, Na nesâ yma: diosg dy esgidiau oddi am dy draed; oherwydd y lle yr wyt ti yn sefyll arno sydd ddaiar sanctaidd. Ac efe a ddywedodd, Myfi yw Duw dy dad, Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob. A Moses a guddiodd ei wyneb; oblegyd ofni yr ydoedd edrych ar Dduw. A dywedodd yr Arglwydd, Gan weled y gwelais gystudd fy mhobl sydd yn yr Aipht, a'u gwaedd o achos eu meistriaid gwaith a glywais; canys mi a wn oddiwrth eu doluriau. A mi a ddisgynais i'w gwaredu hwy. Tyred gan hyny yn awr, a mi a'th anfonaf at Pharaoh."—Exod. iii.

---

## TROI GWIALEN MOSES YN SARPH.

Gwrthwynebai Moses, oddiar ofn na chredai y bobl ef, na wrandawent arno, ac y gwrthodent ef fel twyllwr. Ymostyngodd yr Arglwydd, beth bynag, i gyfarfod â'i wendid, a dywedodd, "Beth sydd yn dy law? Dywedodd yntau, Gwïalen. Ac efe a ddywedodd, Tafl hi ar y ddaiar. Ac efe a'i taflodd hi ar y ddaiar; a hi a aeth yn sarph: a Moses a giliodd rhagddi. Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrth Moses, Estyn dy law, ac ymafael yn ei llosgwrn hi. Ac efe a estynodd ei law, ac a ymaflodd ynddi; a hi a aeth yn wïalen yn ei law ef. Fel y credant ymddangos i ti o Arglwydd Dduw eu tadau, Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob."—Exod. iv.

## BEICHIAU YR ISRAELIAID YN CYNYDDU.

Traddodwyd cenadwri Moses ac Aaron i Pharaoh ; ond y canlyniad fu, fel y rhag-hysbyswyd, iddo galedu ei galon, a dyweyd, "Pwy yw yr Arglwydd, fel y gwrandawn i ar ei lais, i ollwng Israel ymaith ? Yr Arglwydd nid adwaen, ac Israel ni ollyngaf. A dywedasant hwythau, Duw yr Hebreaid a gyfarfu â ni : gâd i ni fyned, atolwg, daith tridiau yn yr anialwch, ac aberthu i'r Arglwydd ein Duw ; rhag iddo ein rhuthro â haint, neu â chleddyf. A dywedodd brenin yr Aipht wrthynt, Moses ac Aaron, paham y perwch i'r bobl beidio â'u gwaith ? ewch at eich beichiau. Pharaoh hefyd a ddywedodd, Wele pobl y wlad yn awr ydynt lawer, a pharasoch iddynt beidio â'u llwythau. A gorchymynodd Pharaoh, y dydd hwnw, i'r rhai oedd feistriaid gwaith ar y bobl, a'u swyddogion, gan ddywedyd, Na roddwch mwyach wellt i'r bobl i wneuthur priddfeini, megys o'r blaen ; elant a chasglant wellt iddynt eu hunain. A rhifedi y priddfeini y rhai yr oeddynt hwy yn ei wneuthur o'r blaen a roddwch arnynt ; na leihewch o hyny : canys segur ydynt ; am hyny y maent yn gwaeddi, gan ddywedyd, Gâd i ni fyned ac aberthu i'n Duw. Trymhäer y gwaith ar y gwŷr, a gweithiant ynddo ; fel nad edrychant am eiriau ofer."—Exod. v.

---

## GWIALEN AARON YN TROI YN SARPH.

Wedi i ymweliad cyntaf Moses ac Aaron waethygu cyflwr yr Israeliaid mor fawr, ceiswyd ymweliad arall â'r penadur balch a chyndyn, fel y gellid dangos eu hawdurdod oddiwrth Dduw y nefoedd yn amlwg ger ei fron. "A Moses ac Aaron a aethant i mewn at Pharaoh, ac a wnaethant felly, megys y gorchymynasai yr Arglwydd ;



BEICHIAU YR ISRAELIAID YN CYNYDDU.



GWIALEN AARON YN TROI YN SARPH.



PLA Y LLYFFAINT.

ac Aaron a fwriodd ei wïalen gerbron Pharaoh, a cherbron ei weision; a hi a aeth yn sarph." Ni adawyd y wyrth ar hyn, oblegyd dywedir wrthym yn eglur i swynwyr yr Aipht yr un fath fwrw eu gwïail, a hwy a aethant yn seirph. Mae yr hanes hon yn nodedig yn dangos cywirdeb a gonestrwydd yr hanesydd. Caniatawyd y llwyddiant annysgwyliadwy hwn i'r swynwyr, i ryw ddyben nas gallwn ni ei wybod; ond profwyd gallu ac awdurdod uwch Moses ac Aaron yn fuan, oblegyd llyncodd gwïalen Aaron holl wïail y swynwyr."—Exod. vii.

---

## PLA Y LLYFFAINT.

Ond yr oedd yn amlwg fod gan yr Arglwydd amcan, nid yn unig i gadarnhau cenadwri ei weision ei hun trwy arwyddion a rhyfeddodau; ond hefyd i ddangos i holl drigolion yr Aipht fod Duw ar y ddaiar, ac i roddi cospedigaeth gyfiawn ar y genedl hòno am ei chreulondeb tuag at feibion Israel. "A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Dos at Pharaoh, a dywed wrtho, Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Gollwng ymaith fy mhobl, fel y'm gwasanaethont. Ac os gwrthòdi eu gollwng, wele, mi a darawaf dy holl derfynau di â llyffaint. A'r afon a heigia lyffaint, y rhai a ddringant, ac a ddeuant i'th dŷ, ac i ystafeloedd dy orweddle, ac ar dy wely; ac i dŷ dy weision, ac ar dy bobl, ac i'th ffyrnau, ac ar dy fwyd gweddill. Ac Aaron a estynodd ei law ar ddyfroedd yr Aipht; a'r llyffaint a ddaethant i fyny, ac a orchuddiasant dir yr Aipht. A'r swynwyr a wnaethant yr un modd, trwy eu swynion."—Exod. viii.

## PLA Y LLAU.

Er ymweliad gwenwynig y llyffaint, yr hwn a gyflawnodd yn hollol fygythiad blaenorol prophwyd Duw, nid cynt y symudwyd y pla, ac y cliriodd yr arogl oddiwrth eu celaneddau meirwon, nag y caledodd calon Pharaoh fel o'r blaen. "A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Dywed wrth Aaron, Estyn dy wïalen, a tharo lwch y ddaiar, fel y byddo yn llau trwy holl wlad yr Aipht. Ac felly y gwnaethant. Canys Aaron a estynodd ei law â'i wïalen, ac a darawodd lwch y ddaiar: ac efe a aeth yn llau ar ddyn ac ar anifail: holl lwch y tir oedd yn llau trwy holl wlad yr Aipht. A'r swynwyr a wnaethant felly, trwy eu swynion, i ddwyn llau allan; ond ni allasant: felly y bu y llau ar ddyn ac ar anifail. Yna y swynwyr a ddywedasant wrth Pharaoh, Bŷs Duw yw hyn: a chaledwyd calon Pharaoh, ac ni wrandawai arnynt, megys y llefarasai yr Arglwydd."—Exod. viii.

---

## PLA Y CENLLYSG A'R TAN.

Ar ol pläau y llyffaint, a'r llau, dylynodd yr heidiau ednog, haint yr anifeiliaid, a'r cornwydydd llinorog, eto heb gynyrchu dim mwy o du Pharaoh nag ofn ar y pryd, ac ymostyngiad mewn gair yn unig. O'r diwedd, llefarodd yr Arglwydd drachefn wrth Pharaoh trwy enau Moses, a dywedodd, "Wele, mi a wlawiaf yn nghylch yr amser yma y fory genllysg trymion iawn; y rhai ni bu eu bath yn yr Aipht, o'r dydd y sylfaenwyd hi, hyd yr awr hon. Anfon gan hyny yn awr, casgl dy anifeiliaid, a phob dim a'r y sydd i ti yn y maes: pob dyn ac anifail a gaffer yn y maes, ac nis dyger i dŷ, y disgyn y cenllysg arnynt, a byddant feirw. Felly yr ydoedd cenllysg, a thân yn ymgymeryd yn nghanol y cenllysg, yn flin iawn; yr hwn ni bu ei fath yn holl wlad yr Aipht, er pan ydoedd yn



PLA Y LLAU.



PLA Y CENLLYSG A'R TAN.



PLA Y LOCUSTIAID.

genedlaeth. A'r cenllysg a gurodd, trwy holl wlad yr Aipht, gwbl a'r oedd yn y maes, yn ddyn ac yn anifail; y cenllysg hefyd a gurodd holl lysiau y maes, ac a ddrylliodd holl goed y maes: yn unig yn ngwlad Gosen yr hon yr ydoedd meibion Israel ynddi, nid oedd dim cenllysg." —Exod. ix.

---

## PLA Y LOCUSTIAID.

"A phan welodd Pharaoh beidio o'r gwlaw, a'r cenllysg, a'r taranau, efe a ychwanegodd bechu; ac a galedodd ei galon, efe a'i weision. Ac ni ollyngai efe feibion Israel ymaith; megys y llefarasai yr Arglwydd trwy law Moses A daeth Moses ac Aaron i mewn at Pharaoh, a dywedasant wrtho, Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw yr Hebreaid Pa hyd y gwrthodi ymostwng ger fy mron? gollwng ymaith fy mhobl, fel y'm gwasanaethont. Oherwydd os ti a wrthodi ollwng fy mhobl, wele, y fory y dygaf locustiaid i'th fro; a hwynt-hwy a orchuddiant wyneb y ddaiar fel na allo un weled y ddaiar: a hwy a ysant y gweddill a adawyd i chwi yn ddïangol gan y cenllysg; difânt hefyd bob pren a fyddo yn blaguro i chwi yn y maes. Llanwant hefyd dy dai di, a thai dy holl weision, a thai yr holl Aiphtiaid, y rhai ni welodd dy dadau, na thadau dy dadau, er y dydd y buont ar y ddaiar hyd y dydd hwn. A Moses a estynodd ei wïalen ar dir yr Aipht: a'r Arglwydd a ddug ddwyrein-wynt ar y tir yr holl ddiwrnod hwnw, a'r holl nos hòno; a phan ddaeth y boreu, gwynt y dwyrain a ddug locustiaid. Canys toisant wyneb yr holl dir, a thywyllodd y wlad; a hwy a ysasant holl lysiau y ddaiar, a holl ffrwythau y coed, yr hyn a weddillasai y cenllysg: ac ni adawyd dim gwyrddlesni ar goed, nac ar lysiau y maes, o fewn holl wlad yr Aipht."—Exod. x.

## YR ISRAELIAID YN BENTHYCA AUR GAN YR AIPHTIAID.

Ar ol pla y locustiaid daeth pla y tywyllwch dudew ar wlad yr Aipht, yr hyn a dynodd addewid dwyllodrus arall oddiwrth Pharaoh, y gwnai ollwng meibion Israel, os gadawent eu praidd ar ol. Ond dywedodd Moses, "A ein hanifeilaid hefyd gyda ni; ni adewir ewin yn ol." I hyn atebodd Pharaoh trwy yru Moses allan o'i wydd, a dywedyd mai y dydd y gwelai ei wyneb drachefn y byddai farw. Ymadawodd Moses gan ddywedyd, "Uniawn y dywedaist, ni welaf dy wyneb mwy." Yn barotoadol i'r pla diweddaf, yr hwn oedd i ollwng Israel o'r Aipht, dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, "Dywed yn awr lle y clywo y bobl; a benthycied pob gŵr gan ei gymydog, a phob gwraig gan ei chymydoges, ddodrefn arian a dodrefn aur." Yr oedd hyn i gyflawni addewid a roddwyd, nad elai yr Israeliaid ymaith yn waglaw, ond yr ysbeilient yr Aiphtiaid, ac felly y caent y gyflog ddyledus iddynt am eu llafur gyda'r priddfeini. Cawn hanes helaethach am hyn yn y 12fed bennod o Exodus.

---

## SEFYDLIAD Y PASG.

Yn awr bygythiwyd yr olaf a'r mwyaf dychrynllyd o ddialeddau yr Hollalluog ar wlad yr Aipht. Hysbyswyd i Pharaoh yn flaenorol am farwolaeth y cyntaf-anedig; a dylasai erbyn hyn fod yn barod i dderbyn unrhyw genadwri oddiwrth Moses ac Aaron, a rhagflaenu y farnedigaeth trwy ufudd-dod prydlon; beth bynag, dywedir am dano, nad ollyngai feibion Israel allan o'i wlad. Cyn yr am lygiad hwn o ddigofaint, gorchymynodd yr Arglwydd i Moses sefydlu y Pasg, yr hwn oedd i fod yn goffadwriaeth



YR ISRAELIAID YN BENTHYCA AUR.



SEFYDLIAD Y PASG.



MARWOLAETH Y CYNTAF-ANEDIG.

olynyddol o amddiffyniad a rhyddhad plant Israel, pan laddwyd cyntaf-anedig yr Aipht. Yr oedd cynifer o bersonau ag a gyfansoddent deulu i gymeryd oen blwydd. Yr oeddent i daenellu y gwaed ar holl ystlysbyst eu tai. "A'r gwaed fydd i chwi yn arwydd ar y tai lle y byddoch chwi: a phan welwyf y gwaed, yna yr âf heibio i chwi, ac ni bydd pla dinystriol arnoch chwi, pan darawyf dir yr Aipht. A chymerwch dusw o isop, a throchwch ef yn y gwaed a fyddo yn y cawg, a rhoddwch ar gapan y drws, ac ar y ddau ystlysbost o'r gwaed a fyddo yn y cawg; ac nac aed neb o honoch allan o ddrws ei dŷ hyd y boreu. A'r cig a fwytânt y nos hòno, wedi ei rostio wrth dân, a bara croyw."—Exod. xii.

---

## MARWOLAETH Y CYNTAF-ANEDIG.

Adroddir yr amlygiad dychrynllyd hwn o ddigofaint Dwyfol yn ngeiriau y Beibl fel hyn:—"Ac ar hanner nos y tarawodd yr Arglwydd bob cyntaf-anedig yn ngwlad yr Aipht, o gyntaf-anedig Pharaoh yr hwn a eisteddai ar ei freninfainc, hyd gyntaf-anedig y gaethes yr hon oedd yn y carchardŷ; a phob cyntaf-anedig i anifail. A Pharaoh a gyfododd liw nos, efe a'i holl weision, a'r holl Aiphtiaid; ac yr oedd gweiddi mawr yn yr Aipht; oblegyd nid oedd dŷ a'r nad ydoedd un marw ynddo. Ac efe a alwodd ar Moses ac Aaron liw nos, ac a ddywedodd, Codwch, ewch allan o fysg fy mhobl, chwi a meibion Israel hefyd; ac ewch, a gwasanaethwch yr Arglwydd, fel y dywedasoch. Cymerwch eich defaid, a'ch gwartheg hefyd, fel y dywedasoch, ac ewch ymaith, a bendithiwch finau. A'r Aiphtiaid a fuant daerion ar y bobl, gan eu gyru ar ffrwst allan o'r wlad: oblegyd dywedasant, Dynion meirw ydym ni oll."—Exod. xii.

## YMADAWIAD YR ISRAELIAID.

Nid oedd un camsyniad y tro hwn nac oediad. "A'r bobl a gymerodd eu toes cyn ei lefeinio, a'u toes oedd wedi ei rwymo yn eu dillad ar eu hysgwyddau. A meibion Israel a wnaethant yn ol gair Moses; ac a fenthyciasant gan yr Aiphtiaid dlysau arian, a thlysau, aur, a gwisgoedd. A'r Arglwydd a roddasai i'r bobl hawddgarwch yn ngolwg yr Aiphtiaid, fel yr echwynasant iddynt: a hwy a ysbeiliasant yr Aiphtiaid. A meibion Israel a aethant o Rameses i Succoth, yn nghylch chwe chan' mil o wŷr traed, heb law plant. A phobl gymysg lawer a aethant i fyny gyda hwynt; defaid hefyd a gwartheg, sef dâ lawer iawn. A hwy a bobasant y toes a ddygasant allan o'r Aipht yn deisenau croyw; oherwydd yr oedd heb ei lefeinio: canys gwthiasid hwynt o'r Aipht, ac ni allasant aros, ac ni pharotoisant iddynt eu hun luniaeth."—Exod. xii.

---

## BODDI PHARAOH A'I LU.

Cawn yn y bedwaredd bennod ar ddeg o Exodus, fod cyndynrwydd brenin yr Aipht yn gwrthod gollwng plant Israel yn cael ei gefnogi gan dymher anhywaith pobl yr Aipht. Nid calon Pharaoh yn unig a ddaliai yn galed a gwrthryfelgar yn wyneb yr holl arwyddion a'r rhyfeddodau, a gyflawnwyd gan allu Dwyfol gerbron eu llygaid. Efallai y gwyddai Pharaoh hyn pan benderfynodd ymlid Israel i'r anialwch. "A'r Aiphtiaid a ymlidiasant ar eu hol hwynt, sef holl feirch a cherbydau Pharaoh, a'i wŷr meirch, a'i fyddin, ac a u goddiweddasant yn gwersyllu wrth y Môr [Coch], gerllaw Pihahiroth, o flaen Baalsephon. A phan nesaodd Pharaoh, meibion Israel a god-

asant eu golwg; ac wele yr Aiphtiaid yn dyfod ar eu hol; a hwy a ofnasant yn ddirfawr: a meibion Israel a waeddasant ar yr Arglwydd." Dangosodd yr Anfeidrol ei ddaioni a'i ymaros ar eu rhan. Terfysgodd yr Arglwydd fyddin yr Aiphtiaid, a rhwystrodd eu cerbydau, fel y methasant gyraedd eu hamcan. Ac i rwystro eu henciliad, parodd yr Arglwydd, yr hwn oedd wedi sychu yn wyrthiol wely y Môr Coch i wneyd ffordd i'r Israeliaid, parodd i'r dyfroedd ddychwelyd i'w lle ar yr Aiphtiaid, a'r Arglwydd a ddymchwelodd yr Aiphtiaid yn nghanol y môr. A'r dyfroedd a orchuddiasant gerbydau, a marchogion, a holl fyddin Pharaoh. Ni adawyd o honynt gymaint ag un.—Exod. xiv.

---

## CASGLU MANNA.

Fel y dygodd yr Arglwydd ei bobl allan o wlad yr Aipht, ac o dŷ y caethiwed, â llaw gref ac â braich estynedig; felly hefyd trwy gyfres barhaus o wyrthiau y cynaliwyd, y porthwyd, ac yr arweiniwyd hwynt yn yr anialwch, lle y buasai raid iddynt, oni bai hyny, farw yn fuan o angen a lludded. Profasant yn fuan ddiffyg bara, prif gynalydd bywyd. Ac yna, gan anghofio yr hyn a wnaeth Duw, ac a addawodd wneyd iddynt, tuchanasant yn erbyn eu harweinydd. Ond er eu tuchan annuwiol, a'r gosbedigaeth a deilyngent, anfonwyd bara iddynt o'r nefoedd. "Felly yn yr hwyr y soflieir a ddaethant, ac a orchuddiasant y wersyllfa; a'r boreu yr oedd caenen o wlith o amgylch y gwersyll. A phan gododd y gaenen wlith, wele ar hyd wyneb yr anialwch dipynau crynion cyn faned a'r llwydrew ar y ddaiar. A hwy a ddywedasant, Manna yw."—Exod. xvi.

## MOSES YN TARO Y GRAIG.

"A HOLL gynulleidfa meibion Israel a aethant o anialwch Sin, wrth eu teithiau, yn ol gorchymyn yr Arglwydd; ac a wersyllasant yn Rephidim: ac nid oedd dwfr i'r bobl i yfed. Am hyny y bobl a ymgynhenasant â Moses, ac a ddywedasant, Rhoddwch i ni ddwfr i yfed. A dywedodd Moses wrthynt, Paham yr ymgynhenwch â mi? Paham y temtiwch yr Arglwydd? A'r bobl a sychedodd yno am ddwfr; a thuchanodd y bobl yn erbyn Moses, ac a ddywedodd, Paham y peraist i ni ddyfod i fyny o'r Aipht, i'n lladd ni, a'n plant, a'n hanifeiliaid, â syched? A Moses a lefodd ar yr Arglwydd, gan ddywedyd, Beth a wnaf i'r bobl hyn? ar ben ychydig eto hwy a'm llabyddiant i. A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Cerdda o flaen y bobl, a chymer gyda thi o henuriaid Israel; cymer hefyd dy wialen yn dy law, yr hon y tarewaist yr afon â hi, a cherdda. Wele, mi a safaf o'th flaen yno ar y graig yn Horeb; taro dithau y graig, a daw dwfr allan o honi, fel y gallo y bobl yfed. A Moses a wnaeth felly yn ngolwg henuriaid Israel. Ac efe a alwodd enw y lle Massah, a Meribah: o achos cynen meibion Israel, ac am iddynt demtio yr Arglwydd, gan ddywedyd, A ydyw yr Arglwydd yn ein plith, ai nid yw?"—EXOD. xvii.

---

## SINAI.

HYD yma, nid oedd gan Israel, ar a wyddom ni, er eu bod dan lywodraeth uniongyrchol Duw, un gyfundrefn reolaidd o gyfreithiau neu drefniadau. Rhyngodd bodd i'w harweinydd Dwyfol yn awr roddi iddynt gasgliad pennodol o reolau neu orchymynion moesol. Apwyntiwyd anialwch Sinai, lle yr oedd y bobl yn awr yn dynesu, i wneyd yr



MOSES YN TARO Y GRAIG.



SINAI.



YR ARCH. Y BWRDD. A'R CANWYLLBREN.

amlygiad hynod ac ofnadwy hwnw o'i fawredd, lle y gosododd ei orsedd yn nghymylau y nef, er mwyn argraffu parch ac ofn duwiol ar feddyliau y bobl. "A mynydd Sinai oedd i gyd yn mygu, oherwydd disgyn o'r Arglwydd arno mewn tân; a'i fwg a ddyrchafodd fel mwg ffwrn, a'r holl fynydd a grynodd yn ddirfawr." Yn yr ugeinfed bennod o Exodus dywedir, "A Duw a lefarodd yr holl eiriau hyn," a chanlyna y deg gorchymyn, y rhai a symir i fyny i ddau gan Grist yn y Testament Newydd; neu a gynwysir ar unwaith mewn cariad at Dduw a dyn.—Exod. xx.

---

## YR ARCH, Y BWRDD, A'R CANWYLLBREN.

Cynwysai y tabernacl, yr hwn ydoedd babell ëang ac ardderchog, wedi ei adeiladu dan gyfarwyddyd uniongyrchol Duw at ei addoli, yr arch, y drugareddfa, y bwrdd, a'r canwyllbren, fel ei brif gelfi. "A gwnant i mi gysegr; fel y gallwyf drigo yn eu mysg hwynt. Yn ol holl waith y tabernacl, a gwaith ei holl ddodrefn y rhai yr ydwyf yn eu dangos i ti, felly y gwnewch. A gwnant arch o goed Sittim, a gwisg hi âg aur coeth; o fewn ac oddiallan y gwisgi hi: a gwna arni goron o aur o amgylch." Heblaw hyn, yr oedd math o orsedd i fod o aur pur; a elwid y drugareddfa. Yr oedd hon i gael ei chysgodi gan y ddau gerub adeiniog o aur, un ar bob pen iddi. O flaen hon y safai bwrdd o wneuthuriad rhagorol, wedi ei addurno yn brydferth, o goed Sittim ac aur, fel yr arch; ac arno fodrwyau a throsolion, fel hithau. Yr oedd y canwyllbren yn dra ardderchog, fel y gallwn gasglu oddiwrth y cyfarwyddyd a roddwyd i'w wneuthur.—Exod. xxv.

## Y TABERNACL.

MATH o adeilad symudol oedd y Tabernacl, cyfansoddedig o golofnau ac estyllod wedi eu gosod mewn morteisiau arian, a lleni o lian main wedi eu gweithio â cherubiaid, a'u sicrhau wrth fachau aur ; yr oedd wedi ei drefnu fel y gellid ei ddatod yn ddarnau, a'i ddwyn gyda meibion Israel yn eu teithiau. Gorchuddid ef â phedwar tô ; un o lian main ; un o flew geifr ; y trydydd o grwyn hyrddod wedi eu lliwio yn gochion ; a'r pedwerydd o grwyn daiarfoch yn gymwys i ddal y tywydd. Rhenid y Tabernacl i ddwy brif ystafell ; y Cysegr Santaidd, lle y gweinyddai yr offeiriaid bob dydd ; a'r Cysegr Santeiddiolaf, lle nad âi neb ond yr archoffeiriad, a hwnw ddim ond unwaith y flwyddyn. Gwahenid hwynt gan len o lian main o amryw liwiau, wedi ei haddurno â lluniau cerubiaid, ac yn crogi ar bedair colofn orchuddiedig ag aur. Safai yr adeilad ardderchog hon ar ddarn o dir cauedig, yr hwn a elwid Cyntedd y Tabernacl ; cauid y cyntedd i mewn gan resi o golofnau, a lleni yn cyraedd o golofn i golofn. Codai holl lwythau Israel eu pebyll o amgylch y Tabernacl, yr hwn a safai yn nghanol y llu.—EXOD. xxvi.

---

## ALLOR Y POETH-OFFRWM.

YR oedd hon wedi ei gwneuthur o goed yn orchuddiedig â phres, a pherthynai iddi rhawiau, pedyll, cawgiau, a llestri ac offerynau eraill. Ar hon yr offrymid yr holl boeth-offrymau a'r aberthau. Anrhydeddwyd hi âg arddangosiad o dân gwyrthiol o'r nefoedd, yr hwn a ddifäodd yr aberth cyntaf a offrymwyd arni. Ar ol hyn cedwid tân gwastadol arni i ddybenion santaidd. Yn llyfrau Exodus a Leviticus rhoddir desgrifiadau a chyfarwyddiadau manwl gyda golwg ar grefydd seremoniol yr Iudd-



Y TABERNACL.



ALLOR Y POETH-OFFRWM.



MOSES YN DERBYN Y LLECHAU.

ewon. Tri o brif ddybenion y pethau hyn oeddent; yn gyntaf, i gadw yr Iuddewon ar wahan oddiwrth bawb eraill, fel gwladwriaeth santaidd, ac eglwys weledig Duw; yn ail, i arfer y bobl, y rhai a demtid yn fynych i eilunaddoliaeth, mewn amrywiol o ffurfiau a defodau allanol crefydd; ac felly i gadw ymaith yr ofergoeliaeth a ffynai yn mysg y cenedloedd o'u hamgylch. Ond y trydydd, a phrif ddefnydd yr holl seremoniau Iuddewig, ydoedd dangos aberth a swyddau Crist; a bendithion pell, eto sicr a gogoneddus yr efengyl. Ymddengys hyn oddiwrth amryw ranau o'r Testament Newydd.—Exod. xxvii.

---

## MOSES YN DERBYN Y LLECHAU.

Yr oedd y ddeddf seremoniol y cyfeiriwyd ati yn gwahaniaethu oddiwrth y ddeddf foesol, yn benaf yn hyn—fod y gyntaf i bobl neillduol, a thros amser penodol, ac am hyny dyddimwyd hi dan yr oruchwyliaeth Gristionogol: ond yr oedd y ddeddf foesol yn gyffredinol a thragywyddol yn ei nhatur a'i rhwymedigaeth. Mae cyfreithiau moesol yr Iuddewon, y rhai ydynt yn wasgaredig trwy lyfrau Moses, fel wedi eu casglu i gwmpas bychan i'r côf yn y deg gorchymyn; rhoddwyd hwynt gyntaf, fel y gwelsom yn yr ugeinfed bennod o Exodus, ar fynydd Sinai; ac ysgrifenwyd hwy, fel y dywedir, â bŷs Duw, ar ddwy lech gareg. "Ac efe a roddodd i Moses, wedi iddo orphen llefaru wrtho yn mynydd Sinai, ddwy lech y dystiolaeth; sef llechau o geryg, wedi eu hysgrifenu â bŷs Duw." Eto, "A Moses a drodd, ac a ddaeth i waered o'r mynydd, a dwy lech y dystiolaeth yn ei law; y llechau a ysgrifenasid o'r ddau du. A'r llechau hyny oedd o waith Duw; yr ysgrifen hefyd oedd ysgrifen Duw yn ysgrifenedig ar y llechau."—Exod. xxxi. xxxii.

## MOSES YN TORI Y LLECHAU.

Nid amlygwyd gwrthryfel, annghrediniaeth, a chyndynrwydd yr Iuddewon yn fwy ar unrhyw achlysur nag yn ystod absenoldeb Moses, pan fu ar y mynydd yn derbyn y gyfraith. "Pan welodd y bobl fod Moses yn oedi dyfod i waered o'r mynydd; yna yr ymgasglodd y bobl at Aaron, ac y dywedasant wrtho, Cyfod, gwna i ni dduwiau i fyned o'n blaen: canys y Moses hwn, y gŵr a'n dug ni i fyny o wlad yr Aipht, ni wyddom beth a ddaeth o hono." Yna perswadiasant Aaron i wneuthur iddynt lo aur ac allor. "A hwy a godasant yn foreu dranoeth, ac a offrymasant boeth-offrymau, ac a ddygasant aberthau hedd: a'r bobl a eisteddasant i fwyta ac i yfed, ac a godasant i fyny i chwarae. A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Cerdda, dos i waered: canys ymlygrodd dy bobl a ddygaist i fyny o dir yr Aipht. A Moses a drodd, ac a ddaeth i waered o'r mynydd, a dwy lech y dystiolaeth yn ei law. A bu wedi dyfod o hono yn agos i'r gwersyll, iddo weled y llo a'r dawnsio; ac enynodd digofaint Moses; ac efe a daflodd y llechau o'i ddwylaw, ac a'u torodd hwynt islaw y mynydd."—Exod. xxxii.

---

## AARON YN ABERTHU DROSTO EI HUN A'R BOBL.

Yr oedd Aaron a'i feibion, yn ol gorchymyn Dwyfol, wedi eu cysegru gan Moses i'r swydd offeiriadol; yn awr apwyntiwyd aberth dros bechod, a phoeth-offrwm gan yr un awdurdod i gael ei roddi drosto ei hun, a thros y bobl. "Yna y bu, ar yr wythfed dydd, i Moses alw Aaron a'i feibion, a henuriaid Israel; ac efe a ddywedodd wrth Aaron, Cymer i ti lo ieuanc yn aberth dros bechod, a hwrdd yn boeth-offrwm, o rai perffeith-gwbl, a dwg hwy


MOSES YN TORI Y LLECHAU.


AARON YN ABERTHU DROSTO EI HUN A'R BOBL.


LLADD NADAB AC ABIHU.

gerbron yr Arglwydd. A dygasant yr hyn a orchymynodd Moses gerbron pabell y cyfarfod: a'r holl gynulleidfa a ddaethant yn agos, ac a safasant gerbron yr Arglwydd. Dywedodd Moses hefyd wrth Aaron, Dos at yr allor, ac abertha dy aberth dros bechod, a'th boeth-offrwm, a gwna gymod drosot dy hun, a thros y bobl; ac abertha offrwm y bobl, a gwna gymod drostynt; fel y gorchymynodd yr Arglwydd. Hefyd efe a ddug offrwm y bobl; ac a gymerodd fwch yr aberth dros bechod y bobl, ac a'i lladdodd, ac a'i hoffrymodd dros bechod fel y cyntaf. A chododd Aaron ei law tuag at y bobl, ac a'u bendithiodd. A daeth tân allan oddi gerbron yr Arglwydd, ac a ysodd y poeth-offrwm."—Lev. ix.

———

## LLADD NADAB AC ABIHU.

Gan fod holl ddefodau a seremoniau yr Iuddewon wedi eu gorchymyn a'u hegluro fel hyn yn fanwl gan Dduw ei hun, yr oedd yn amlwg na fuasai un math arall o addoliad, nad oedd ef wedi ei orchymyn, yn dderbyniol ganddo, ond yn bechadurus yn ei olwg. Y mae yn hynod i feibion Aaron ei hun anturio troseddu, a hyny mor fuan, ac mor gyhoeddus, trwy offrymu yr hyn nad oedd ganddynt awdurdod. Adroddir natur a chanlyniadau eu rhyfyg dinystriol fel hyn:—"Yna Nadab ac Abihu, meibion Aaron, a gymerasant bob un ei thusser, ac a roddasant dân ynddynt, ac a osodasant arogl-darth ar hyny; ac a offrymasant gerbron yr Arglwydd dân dyeithr, yr hwn ni orchymynasai efe iddynt. A daeth tân allan oddi gerbron yr Arglwydd, ac a'u difäodd hwynt; a buant feirw gerbron yr Arglwydd." Cymerwyd eu cyrph allan o'r gwersyll, a gwaharddwyd Aaron a'i deulu i alaru ar eu hol.—Lev. x.

## LLABYDDIO Y CABLWR

"A MAB gwraig o Israel, a hwn yn fab gŵr o'r Aipht, a aeth allan yn mysg meibion Israel; a mab yr Israelees a gŵr o Israel a ymgynhenasant yn y gwersyll. A mab y wraig o Israel a gablodd enw yr Arglwydd, ac a felldigodd: yna y dygasant ef at Moses, a gosodasant ef yn ngharchar, fel yr hysbysid iddynt o enau yr Arglwydd beth a wnaent. A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd, Dwg y cablydd i'r tu allan i'r gwersyll; a rhodded pawb a'i clywsant ef eu dwylaw ar ei ben ef, a llabyddied yr holl gynulleidfa ef. A llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, Pwy bynag a gablo ei Dduw, a ddwg ei bechod. A lladder yn farw yr hwn a felldithio enw yr Arglwydd; yr holl gynulleidfa gan labyddio a'i llabyddiant ef: lladder yn gystal y dyeithr a'r priodor, pan gablo efe enw yr Arglwydd."—LEV. xxiv.

---

## ANFON SOFLIEIR I'R ISRAELIAID.

CODAI anniddigrwydd a thuchan y bobl anghofus, anniolchgar, a diamynedd hyn, ar bob achlysur ag y teimlent neu yr ofnent unrhyw angen; dechreuodd eu harchwaeth foethus flino ar y manna a anfonid i lawr o'r nefoedd; a chwennychent eto ddanteithion yr Aipht—y crochanau cig, y pysgod, y cucumerau, y pompionau, y cenin, a'r winwyn, a'r garlleg. Ni fynent y manna, yr hwn oedd a i flas fel afrllad o fêl; ac wylasant, gan ddywedyd, "Pwy a rydd i ni gig i'w fwyta?" Ac enynodd digofaint yr Arglwydd yn fawr. A dywedodd, "Nid un dydd y bwytewch, ac nid dau, ac nid pump o ddyddiau, ac nid deg diwrnod, ac nid ugain niwrnod; ond hyd fis o ddyddiau, hyd oni ddel allan o'ch ffroenau, a'i fod yn ffiaidd



LLABYDDIO Y CABLWR.



ANFON SOFLIEIR I'R ISRAELIAID.



YR YSBIWYR YN DYCHWELYD O GANAAN.

genych. Ac fe ddaeth gwynt oddiwrth yr Arglwydd ac a ddug soflieir oddiwrth y môr, ac a'u taenodd wrth y gwersyll. Yna y cododd y bobl y dydd hwnw oll, a'r nos oll, a'r holl ddydd dranoeth, ac a gasglasant y soflieir: a'r cig oedd eto rhwng eu dannedd hwynt heb ei gnoi, pan ennynodd digofaint yr Arglwydd yn erbyn y bobl; a'r Arglwydd a darawodd y bobl â phla mawr iawn."—Num. xi.

---

## YR YSBIWYR YN DYCHWELYD O GANAAN.

Fel yr oedd meibion Israel yn dynesu at wlad yr addewid, "Llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd, Anfon i ti wŷr i edrych tir Canaan, yr hwn yr ydwyf fi yn ei roddi i feibion Israel; gŵr dros bob un o lwythau eu tadau a anfonwch; pob un yn benaeth yn eu mysg hwynt. A Moses a'u hanfonodd hwynt i edrych ansawdd gwlad Canaan;" a rhoddodd iddynt gyfarwyddiadau manwl gyda golwg ar y daith. "A'r dyddiau oeddynt ddyddiau blaenffrwyth grawnwin. A hwy a aethant i fyny, ac a chwiliasant y tir. A daethant hyd ddyffryn Escol; a thorasant oddiyno gangen âg un swp o rawnwin, ac a'i dygasant ar drosol rhwng dau: dygasant rai o'r pomgranadau hefyd, ac o'r ffigys. A hwy a ddychwelasant o chwilio y wlad ar ol deugain niwrnod. A myned a wnaethant, a dyfod at Moses ac at Aaron, ac at holl gynulleidfa meibion Israel, a dygasant yn eu hol air iddynt, ac i'r holl gynulleidfa, ac a ddangosasant iddynt ffrwyth y tir. A mynegasant iddo, a dywedasant, Daethom i'r tir lle yr anfonaist ni: ac yn ddiau llifeirio y mae o laeth a mêl: a dyma ei ffrwyth ef."—Num. xiii.

## CORAH, DATHAN, AC ABIRAM.

Torodd gwrthryfel allan yn Israel yn awr ar ffurf newydd. Eiddigeddodd y dynion hyn wrth allu ac awdurdod Moses, ac wedi casglu atynt nifer o brif ddynion y gynulleidfa, safasant yn erbyn Moses ac Aaron, a dywedasant wrthynt, "Gormod i chwi hyn; canys y mae yr holl gynulleidfa yn santaidd bob un o honynt, ac y mae yr Arglwydd yn eu mysg: paham yr ymgodwch goruwch cynulleidfa yr Arglwydd? A phan glybu Moses, efe a syrthiodd ar ei wyneb. Ac efe a lefarodd wrth Corah, ac wrth ei holl gynulleidfa ef, gan ddywedyd, Y boreu y dengys yr Arglwydd yr hwn sydd eiddo ef, a'r santaidd; a phwy a ddylai nesâu ato ef. Hyn a wnewch: Cymerwch i chwi, sef Corah a'i holl gynulleidfa, thusserau; a rhoddwch ynddynt dân, a gosodwch arnynt arogl-darth y fory gerbron yr Arglwydd: yna bydd i'r gŵr hwnw fod yn santaidd, yr hwn a ddewiso yr Arglwydd: gormod i chwi hyn, meibion Lefi. Os bydd y rhai hyn feirw fel y bydd marw pob dyn, ac os ymwelir â hwynt âg ymwelediad pob dyn; nid yr Arglwydd a'm hanfonodd i. A bu, wrth orphen o hono lefaru yr holl eiriau hyn, hollti o'r ddaiar oedd danynt hwy. Agorodd y ddaiar hefyd ei safn, a llyncodd hwynt, a'u tai hefyd, a'r holl ddynion oedd gan Corah, a'u holl gyfoeth."—Num. xvi.

---

## MOSES YN TARO Y GRAIG.

Ymddengys fod meibion Israel eto heb ddysgu gwneyd eu hangenion yn hysbys mewn unrhyw dôn heblaw achwyniadau anfoddog ac anniolchgar. Yr oedd eu ffydd a'u diolchgarwch yn hynod o brin; ac ar rai o'r achlysuron mwyaf cyfyng ymddangosent mor galon-galed ac anufudd a Pharaoh a'i lu. "A meibion Israel a ddaethant


CORAH, DATHAN, AC ABIRAM


MOSES YN TARO Y GRAIG.


Y SARPH BRES.

i anialwch Sin. Ac nid oedd dwfr i'r gynulleidfa: a hwy a ymgasglasant yn erbyn Moses ac Aaron. Ac ymgynhenodd y bobl â Moses, a llefarasant, gan ddywedyd, O na buasem feirw pan fu feirw ein brodyr gerbron yr Arglwydd! A phaham y dygasoch ni i fyny o'r Aipht, i'n dwyn i'r lle drwg yma? A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd, Cymer y wïalen, a chasgl y gynulleidfa, ti ac Aaron dy frawd; ac yn eu gŵydd hwynt lleferwch wrth y graig, a hi a rydd ei dwfr: a Moses a gododd ei law, ac a darawodd y graig ddwy waith â'i wïalen: a daeth dwfr lawer allan; a'r gynulleidfa a yfodd, a'u hanifeiliaid hefyd."—NUM. XX.

---

## Y SARPH BRES.

CAWN yr Israeliaid eto yn ychwanegu achwyniadau anfoddog. "A hwy a aethant i fynydd Hor, ar hyd ffordd y Môr Coch, i amgylchu tir Edom: a chyfyng ydoedd ar enaid y bobl, o herwydd y ffordd. A llefarodd y bobl yn erbyn Duw, ac yn erbyn Moses, Paham y dygasoch ni o'r Aipht, i farw yn yr anialwch? canys nid oes na bara na dwfr; a ffiaidd yw gan ein henaid y bara gwael hwn. A'r Arglwydd a anfonodd yn mysg y bobl seirph tanllyd; a hwy a frathasant y bobl: a bu feirw o Israel bobl lawer. A daeth y bobl at Moses, a dywedasant, Pechasom: gweddïa ar yr Arglwydd, ar yru o hono ef y seirph oddi wrthym. A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Gwna i ti sarph danllyd, a gosod ar drostan: a phawb a frather, ac a edrycho ar hòno, fydd byw. A gwnaeth Moses sarph o bres, ac a'i gosododd ar drostan: yna os brathai sarph ŵr, ac edrych o hono ef ar y sarph bres, byw fyddai."—NUM. XXI.

## BALAAM A'R ANGEL.

ANFONWYD am y prophwyd, yr hwn oedd ar y cyntaf yn wan, ac wedi hyny yn ddrwg, gan frenin y Mobiaid, yr hwn oedd wedi dychrynu wrth ddynesiad lluoedd Israel. Felly, atolygodd arno, gan ddywedyd, "Yr awr hon, gan hyny, tyred, atolwg, melldithia i mi y bobl yma; canys cryfach ydynt nâ mi: ond odid mi allwn ei daro ef, a'u gyru hwynt o'r tir: canys mi a wn mai bendigedig fydd yr hwn a fendithiech di, a melldigedig fydd yr hwn a felldithiech. A dywedodd yntau (Balaam) wrthynt (y cenadau), Lletywch yma heno: a rhoddaf i chwi ateb megys y llefaro yr Arglwydd wrthyf." Y nos hòno ymddangosodd Duw i'r prophwyd, a gwaharddodd ef i wneyd yr hyn a geisid ganddo, na myned at frenin Moab. I genadwri arall o eiddo y brenin Balac, atebodd Balaam, pe roddasai lonaid ei dŷ o aur ac arian nas gallasai fyned dros air yr Arglwydd i wneuthur na bychan na mawr. Hyd yn hyn yr oedd pob peth yn dda, ond o'r diwedd penderfynodd fyned. "Yna y cododd Balaam yn foreu, ac a gyfrwyodd ei asen, ac a aeth gyda thywysogion Moab. A dig Duw a enynodd, am iddo ef fyned: ac angel yr Arglwydd a safodd ar y ffordd i'w wrthwynebu ef. A'r asen a welodd angel yr Arglwydd yn sefyll ar y ffordd, a'i gleddyf yn noeth yn ei law: a chiliodd yr asen allan o'r ffordd, ac a aeth i'r maes: a tharawodd Balaam yr asen, i'w throi i'r ffordd."—NUM. xxii.

---

## MOSES YN MARW AR FYNYDD PISGAH.

YN awr yr oedd y blaenor ffyddlon, ac eiriolwr mynych dros bobl Israel—i'r hwn, dan Dduw, yr oedd y genedl hon yn ddyledus am eu diogelwch a'u gwaredigaeth o gynifer o beryglon—yr oedd yn awr, yn yr olwg ar wlad yr addewid, i roddi i fyny ei ysbryd heb dderbyn ei



BALAAM A'R ANGEL.



MOSES YN MARW AR FYNYDD PISGAH.



SAMSON YN LLOSGI YD Y PHILISTIAID.

mhwyniant na'i mheddiannau. Yr oedd i adael cynulleidfa y pechaduriaid, ac i ymuno â'r gymanfa gyffredinol, a chynulleidfa y rhai cyntaf-anedig uchod. Mae cynghorion diweddaf, bendithion, a chân Moses, yn gyfansoddiadau tra effeithiol, hyfryd, ac arddunol. Gyda y rhai hyn y terfyna llyfr Deuteronomium ; tybir i'r bennod olaf, yn cynwys hanes marwolaeth Moses, gael ei hychwanegu gan Joshua, ei olynydd. "A Moses a esgynodd o rosydd Moab, i fynydd Nebo, i ben Pisgah, yr hwn sydd ar gyfer Jericho: a'r Arglwydd a ddangosodd iddo holl wlad Gilead, hyd Dan, a holl Naphtali, a thir Ephraim a Manasseh, a holl dir Judah, hyd y môr eithaf. Y dehau hefyd, a gwastadedd dyffryn Jericho, a dinas y palmwydd, hyd Soar. A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Dyma y tir a fynegais i Abraham, i Isaac, ac i Jacob, gan ddywedyd, I'th had di y rhoddaf ef; perais i ti ei weled â'th lygaid, ond nid âi di drosodd yno. A Moses gwas yr Arglwydd a fu farw yno, yn nhir Moab, yn ol gair yr Arglwydd."—DEUT. xxxiv.

---

## SAMSON YN LLOSGI YD Y PHILISTIAID.

AR ol marwolaeth Joshua, olynydd Moses fel blaenor yr Israeliaid, llywodraethid hwy gan farnwyr, un o ba rai ydoedd Samson. Yr oedd yn ddyn o alluoedd corphorol aruthrol, a gwaredodd Israel o law y Philistiaid trwy amrywiol orchestion. I ddial camwri oedd wedi ei dderbyn, "Efe a aeth ac a ddaliodd dri chant o lwynogod ; ac a gymerth ffaglau, ac a drodd gynffon at gynffon, ac a osododd un ffagl rhwng dwy gynffon yn y canol. Ac efe a gyneuodd dân yn y ffaglau, ac a'u gollyngodd hwynt i ydau y Philistiaid ; ac a losgodd hyd yn nod y dasau, a'r ŷd ar ei droed, y gwinllanoedd hefyd, a'r olew-wydd."—BARNWYR XV.

## SAMSON YN LLADD MIL O PHILISTIAID A GEN ASYN.

Ceisiodd y Philistiaid yn awr ddial ar awdwr y drwg hwn, yr hwn, ar achlysur arall hefyd oedd wedi eu taro glun a morddwyd â lladdfa fawr. Gwersyllasant gan hyny yn erbyn Judah i'r dyben i ddal Samson a'i rwymo, fel na wnelai ychwaneg o ddrwg. Penderfynodd gwŷr Judah heddychu â'u llywodraethwyr gormesol trwy draddodi Samson i'w dwylaw; ac wedi tyngu na ruthrent arno ef eu hunain, "Rhwymasant ef â dwy râff newydd, ac a'i dygasant ef i fyny o'r graig. A'r Philistiaid a floeddiasant wrth gyfarfod âg ef. Ac yspryd yr Arglwydd a ddaeth arno ef: a'r rhaffau oedd am ei freichiau a aethant fel llin a losgasid yn tân, a'r rhwymau a ddatodasant oddi am ei ddwylaw ef. Ac efe a gafodd ên asyn îr; ac a estynodd ei law, ac a'i cymerodd, ac a laddodd â hi fil o wŷr."—Barn. xv.

---

## SAMSON YN DWYN YMAITH BYRTH GAZAH.

Er fod Samson y dyn cryfaf, nid ymddengys ei fod y doethaf a'r goreu, oblegyd goddefodd ei arwain ar gyfeiliorn gan ddynion drwg, y rhai wedi hyny, a gyflawnasant ei ddinystr. Nid oedd ganddo un neges dda, mae'n debyg, pan aeth i Gazah, wedi cael dwfr yn wyrthiol i'w ddisychedu ar ol ei ymgyrch diweddar a'r Philistiaid. "Yna Samson a aeth i Gaza. A mynegwyd i'r Gaziaid, gan ddywedyd, Daeth Samson yma. A hwy a gylchynasant, ac a gynllwynasant iddo, ar hyd y nos, yn mhorth y ddinas; ac a fuant ddistaw ar hyd y nos, gan ddywedyd, Y boreu pan oleuo hi, ni a'i lladdwn ef. A Samson a orweddodd hyd hanner nos; ac a gyfododd ar hanner nos, ac a ymaflodd yn nrysau porth y ddinas, ac yn y ddau



SAMSON YN LLADD MIL O PHILISTIAID A GEN ASYN



SAMSON YN DWYN YMAITH BYRTH GAZAH.



DALILAH YN BRADYCHU SAMSON.

bost, ac a aeth ymaith â hwynt yn nghyd â'r barr, ac a'u gosododd ar ei ysgwyddau, ac a'u dug hwynt i fyny i ben bryn sydd gyferbyn a Hebron."—Barn. xvi.

---

## DALILAH YN BRADYCHU SAMSON.

Dywedir am Samson ei fod yn Nazaread i Dduw o'r groth, ac fel y cyfryw yr oedd yn rhwym o adael ei wallt i dyfu, yr hwn a ddaeth felly yn arwydd o'i ffyddlondeb; tra parhaodd fel hyn, yr oedd Duw gydag ef; ac yr oedd ei nerth, yn wir, neu y tyst a'r gwystl o hono, fel rhodd oddiwrth Dduw, yn aros yn ngydynau ei ben. Ond yn awr rhoddodd ei serch ar wraig gyfrwys a thwyllodrus, yr hon a'i temtiodd ef droion i ddatguddio y dirgelwch am ei fawr gryfder. Dyrysodd ei hystrywiau am amser maith drwy gadw y gwirionedd oddiwrthi, a dywedyd wrthi pe rhwymid ef a gwdyn irion, neu raffau newyddion, neu pe plethasid ei wallt a'i gydio wrth y wë, y buasai fel gŵr arall. Wrth weled y rhai hyn oll yn methu, ceryddodd ef yn dost am ei ddiffyg ymddiried ynddi, a blinodd ef â'i thaerineb di-ildio, "Fel y mynegodd iddi ei holl galon, a dywedodd, Ped eillid fi, yna y ciliai fy nerth oddiwrthyf, ac y gwanychwn, ac y byddwn fel gŵr arall." Gwnaeth ei wraig fradychus brawf buan o'r moddion a awgrymwyd. Parodd iddo gysgu a'i ben ar ei gliniau, ac a alwodd ar ŵr, ac a barodd eillio saith gudyn ei ben ef. Yna gyda llawenydd maleisus gwaeddodd fel o'r blaen, "Y mae y Philistiaid arnat ti, Samson." Yn ofer yr âi y dyn gorchfygedig allan i ymysgwyd fel cynt; ni wyddai fod ei nerth wedi ymadael, a'r Arglwydd wedi cilio oddiwrtho. "Ond y Philistiaid a'i daliasant ef, ac a dynasant ei lygaid ef, ac a'i dygasant ef i waered i Gazah, ac a'i rhwymasant ef â gefynau pres."—Barn. xvi.

## ELIMELECH A'I DEULU.

MAE llyfr Ruth yn hanes annybynol, fel atodiad i lyfr y Barnwyr, â'r hwn y cysylltid hi yn y copïau Iuddewig o'r Ysgrythyrau. Cawn yr hanes mor brydferth ac eglur yn ngeiriau y bennod y cyfeirir ati :—"A bu, yn y dyddiau yr oedd y brawdwyr yn barnu, fod newyn yn y wlad : a gŵr o Bethlehem Judah a aeth i ymdeithio yn ngwlad Moab, efe a'i wraig, a'i ddau fab. Ac enw y gŵr oedd Elimelech, ac enw ei wraig Naomi. A hwy a ddaethant i wlad Moab, ac a fuant yno. Ac Elimelech a fu farw, a Naomi a'i dau fab a adawyd. A hwy a gymerasant iddynt wragedd o'r Moabeesau ; enw y naill oedd Orpah, ac enw y llall, Ruth. A thrigasant yno yn nghylch deng mlynedd. A Malhon a Chilion, meibion Naomi, a fuant feirw hefyd ; a'r wraig a adawyd yn ymddifad o'i dau fab, ac o'i gŵr. A hi a gyfododd, â'i merched-yn-nghyfraith, i ddychwelyd o wlad Moab."—RUTH i.

---

## ORPAH YN MYNED, A RUTH YN AROS GYDA NAOMI.

"A NAOMI a ddywedodd wrth ei dwy waudd, Ewch, dychwelwch bob un i dŷ ei mam ; gwneled yr Arglwydd drugaredd â chwi, fel y gwnaethoch chwi â'r meirw, ac â minau. Yr Arglwydd a ganiatao i chwi gael gorphwysdra bob un yn nhŷ ei gŵr. Yna y cusanodd hi hwynt : a hwy a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant. A hwy a ddywedasant wrthi, Diau y dychwelwn ni gyda thi at dy bobl di. A dywedodd Naomi, Dychwelwch, fy merched : i ba beth y deuwch gyda mi ? Ewch ymaith, canys y mae mawr dristwch i mi o'ch plegyd chwi, am i law yr Arglwydd fyned i'm herbyn. A hwy a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant eilwaith : ac Orpah a gusanodd e chwegr ; ond Ruth a lynodd wrthi hi. A dywedodd



ELIMELECH A'I DEULU.



ORPAH YN MYNED, RUTH YN AROS GYDA NAOMI.



RUTH YN LLOFFA YN MAES BOAZ.

Naomi, Welt, dy chwaer-yn-nghyfraith a ddychwelodd at ei phobl, ac at ei duwiau: dychwel dithau ar ol dy chwaer-yn-nghyfraith. A Ruth a ddywedodd, Nac erfyn arnaf fi ymadaw â thi, i gilio oddiar dy ol di: canys pa le bynag yr elych di, yr âf finau; ac yn mha le bynag y lletyech di, y lletyaf finau: dy bobl di fydd fy mhobl i, a'th Dduw di fy Nuw inau: fel hyn y gwnelo yr Arglwydd i mi, ac fel hyn y chwanego, os dim ond angau a wna ysgariaeth rhyngof fi a thithau. Felly y dychwelodd Naomi, a Ruth y Moabees ei gwaudd gyda hi, a hwy a ddaethant i Bethlehem yn nechreu cynhauaf yr heiddiau."—RUTH i.

---

## RUTH YN LLOFFA YN MAES BOAZ.

Ac i ŵr Naomi yr ydoedd câr, o ŵr cadarn nerthol, o dylwyth Elimelech, a'i enw Boaz. A Ruth a ddywedodd wrth Naomi, Gâd i mi fyned yn awr i'r maes, a lloffa tywysenau ar ol yr hwn y caffwyf ffafr yn ei olwg. Hithau a ddywedodd wrthi, Dos, fy merch. A hi a aeth, ac a ddaeth, ac a loffodd yn y maes ar ol y medelwyr; a digwyddodd wrth ddamwain fod y rhan hòno o'r maes yn eiddo Boaz, yr hwn oedd o dylwyth Elimelech. Yna y dywedodd Boaz wrth ei was yr hwn oedd yn sefyll yn ymyl y medelwyr, Pwy bïau y llances hon? A'r gwas a ddywedodd, Y llances o Moab ydyw hi, yr hon a ddychwelodd gyda Naomi o wlad Moab: yna y dywedodd Boaz wrth Ruth, Oni chlywi di, fy merch? Na ddos i loffa i faes arall, ac na cherdda oddi yma; eithr aros yma gyda'm llancesau i. Yna hi a syrthiodd ar ei hwyneb, ac a ymgrymodd i lawr, ac a ddywedodd wrtho ef, Paham y cefais ffafr yn dy olwg di, fel y cymerit gydnabod arnaf, a minau yn alltudes? A Boaz a ddywedodd wrthi, gan fynegi y mynegwyd i mi yr hyn oll a wnaethost i'th chwegr ar ol marwolaeth dy ŵr."—RUTH ii.

## BOAZ YN PRIODI RUTH.

Cyffrowyd Naomi, wedi colli ei dau fab, i werthu ei hetifeddiaeth, a daeth Boaz ei chyfathrachwr yn mlaen, ac actiodd fel cyfaill iddi yn ei chyfyngder. Wedi hysbysu yr amgylchiad yn gyntaf i berthynas agosach, a chael ei fod yn analluog i brynu yr etifeddiaeth, gwnaeth y gorchwyl ei hun, a phriododd Ruth hefyd, fel y dangosir yn y bedwaredd bennod. "A hyn oedd ddefod gynt yn Israel, am ryddhad, ac am gyfnewid, i sicrhau pob peth: Gŵr a ddiosgai ei esgid, ac a'i rhoddai i'w gymydog: a hyn oedd dystiolaeth yn Israel. Am hyny y dywedodd y cyfathrachwr wrth Boaz, Pryn i ti dy hun: ac efe a ddiosgodd ei esgid. A dywedodd Boaz wrth yr henuriaid, ac wrth yr holl bobl, Tystion ydych chwi heddyw, i mi brynu yr hyn oll oedd eiddo Elimelech, a'r hyn oll oedd eiddo Chilion a Mahlon, o law Naomi. Ruth hefyd y Moabees, gwraig Mahlon, a brynais i mi yn wraig, i gyfodi enw y marw ar ei etifeddiaeth ef. Felly Boaz a gymerodd Ruth; a hi a fu iddo yn wraig."—Ruth iv.

---

## HANNAH YN CYFLWYNO SAMUEL.

Parhaodd Hannah gwraig Elcanah yn anmhlantadwy, yr hyn a ystyrid yn gystudd mawr yn mysg y gwragedd Hebreaidd. Am hyny rhoddodd ei chwyn a'i deisyfiad gerbron Duw. Fel yr oedd yn gweddïo, sylwodd Eli yr offeiriad, yr hwn oedd yn eistedd ar fainc wrth bost y deml, fod ei gwefusai yn symud, ond ni chlywai ei llais, a thybiodd ei bod yn feddw. "Ac Eli a ddywedodd wrthi hi, Pa hyd y byddi feddw? Bwrw ymaith dy win oddiwrthyt. Eglurodd Hannah ei thrallod, a thosturiodd y prophwyd wrthi, a dywedodd, "Dos mewn heddwch; a



BOAZ YN PRIODI RUTH.



HANNAH YN CYFLWYNO SAMUEL.



MARWOLAETH ELI.

Duw Israel a roddo i ti dy ddymuniad." Gwrandawyd ei gweddi; a phan ddiddyfnwyd y plentyn, yr hwn a alwodd hi Samuel, dygodd hi a'i gŵr aberthau, ac offrymasant, a chyflwynasant ef i'r Arglwydd yn ol eu hadduned."—1 SAM. i.

---

## MARWOLAETH ELI.

YR oedd Eli y pryd hwn yn archoffeiriad ac yn farnwr yn Israel. Er ei fod yn ddyn da, yr oedd yn llwfr, ac esgeulus i geryddu anfoesoldeb ei deulu. Yr oedd ei ddau fab, Hophni a Phinees, yn ddynion drwg, ac ymddangosodd yr Arglwydd i Samuel yn eu hachos; cyhoeddodd farn ar dŷ Eli, yr hon a dderbyniwyd ganddo gydag ymroddgarwch duwiol. Yn fuan wedi hyny gorchfygwyd yr Israeliaid gan y Philistiaid; cymerwyd yr arch, a lladdwyd meibion Eli. "A gŵr o Benjamin a redodd o'r fyddin, ac a ddaeth i Siloh y diwrnod hwnw, â'i ddillad wedi eu rhwygo, â phridd ar ei ben. A phan ddaeth efe, wele Eli yn eistedd ar eisteddfa gerllaw y ffordd, yn disgwyl: canys yr oedd ei galon ef yn ofni am arch Duw. A phan ddaeth y gŵr i'r ddinas, a mynegi hyn, yr holl ddinas a waeddodd. A phan glywodd Eli lais y waedd, efe a ddywedodd, Beth yw llais y cynwrf yma? A'r gŵr a ddaeth i mewn ar frys, ac a fynegodd i Eli. Ac Eli oedd fab tair blwydd ar bymtheg a phedwar ugain; a phallasai ei lygaid ef, fel na allai efe weled. A'r genad a ddywedodd, Israel a ffodd o flaen y Philistiaid; a bu hefyd laddfa fawr yn mysg y bobl: a'th ddau fab hefyd a fuant feirw, ac arch Duw a ddaliwyd. A phan grybwyllodd efe am arch Duw, yntau a syrthiodd oddiar yr eisteddle yn wysg ei gefn gerllaw y porth; a'i wddf ef a dorodd, ac efe a fu farw. Ac efe a farnasai Israel ddeugain mlynedd.'—1 SAM. iv.

## DAGON AR LAWR O FLAEN YR ARCH.

PAN ddeallodd yr Israeliaid yn ystod y frwydr eu bod yn cael eu gorchfygu gan eu gelynion, anfonasant am yr arch, yr arwydd santaidd hwnw o bresenoldeb a ffafr Duw, gan feddwl cael gwaredigaeth a goruchafiaeth trwyddi; ond camsyniasant, heb wybod fod Duw yn cyfrif â hwynt am eu pechodau. Ymddengys, beth bynag, i'r Philistiaid eu hunain gael eu taro â dychryn, pan wybuant, trwy floeddiadau yr Israeliaid, fod arch Duw wedi dyfod i'w mysg. Er hyny, ymladdasant gyda dewrder dyblyg, a tharawyd Israel o'u blaen. "A'r Philistiaid a gymerasant arch Duw, ac a'i dygasant hi o Ebenezer i Asdod, ac a'i dygasant i mewn i dŷ Dagon eu duw, ac a'i gosodasant yn ymyl Dagon. A'r Asdodiaid a gyfodasant yn foreu dranoeth; ac wele Dagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb, gerbron arch yr Arglwydd. A phen Dagon, a dwy gledr ei ddwylaw, oedd wedi tori ar y trothwy; corph Dagon yn unig a adawyd iddo ef. Am hyny ni sathr offeiriaid Dagon, na neb a ddelo i mewn i dŷ Dagon, ar drothwy Dagon yn Asdod, hyd y dydd hwn."—1 SAM. v.

---

## ENEINIO DAFYDD YN FRENIN.

YR oedd pobl Israel, y rhai nad oeddynt byth yn ufudd a boddlon am amser maith, yn awyddus am gael brenin i'w llywodraethu fel y cenedloedd cylchynol, heb gofio mai Arglwydd y lluoedd oedd eu penadur. Beth bynag, parodd yr Arglwydd i Samuel eu boddhau yn hyn; ac apwyntiwyd Saul yn frenin cyntaf iddynt; ond gan iddo yn fuan droseddu yn erbyn yr Arglwydd, dewiswyd Dafydd yn ei le. Mab ieuengaf Jesse ydoedd ef, ac ŵyr Boaz, o Ruth ei wraig. Bugail i'w dad oedd Dafydd



DAGON AR LAWR O FLAEN YR ARCH.



ENEINIO DAFYDD YN FRENIN.



DAFYDD YN LLADD Y LLEW A'R ARTH.

wrth ei alwedigaeth. Aeth Samuel trwy orchymyn Dwyfol i ddewis un o feibion lliosog Jesse i dderbyn anrhydedd uchel gorsedd Israel. Gwnaed iddynt oll fyned gerbron y prophwyd yn olynol, oddigerth yr ieuangaf; ond o'r diwedd dygwyd hwnw hefyd. "A dywedodd yr Arglwydd, Cyfod, eneinia ef: canys dyma efe. Yna y cymerth Samuel gorn yr olew, ac a'i heneiniodd ef yn nghanol ei frodyr. A daeth Yspryd yr Arglwydd ar Dafydd o'r dydd hwnw allan. Ond Yspryd yr Arglwydd a giliodd oddiwrth Saul; ac yspryd drwg oddiwrth yr Arglwydd a'i blinodd ef."—1 SAM. xvi.

---

## DAFYDD YN LLADD Y LLEW A'R ARTH.

YMDDENGYS nad oedd Dafydd ond llanc o ymddangosiad hynod o ieuanc a thyner, ac oblegyd hyny dirmygid ef gan ei frodyr ac eraill. Felly, pan feiddiai y cawr Goliah Israel, a phan gynygiodd y llanc, yr hwn nad oedd yn nerthol ond yn ngallu anweledig Duw, ymladd ag ef, taflwyd y diystyrwch mwyaf ar yr hyn a ystyrid yn ddewrder rhyfygus ynddo. Gyrodd Saul am y llanc, ac ymresymodd ag ef yn nghylch ei fwriad byrbwyll; ond dywedodd Dafydd, "Bugail oedd dy was di ar ddefaid ei dad; a daeth llew ac arth, ac a gymerasant oen o'r praidd. A mi a aethum ar ei ol ef, ac a'i tarewais ef, ac a'i hachubais o'i safn ef: a phan gyfododd efe i'm herbyn i, mi a ymeflais yn ei farf ef, ac a'i tarewais, ac a'i lleddais ef. Felly dy was di a laddodd y llew, a'r arth: a'r Philistiad dienwaededig hwn fydd megys un o honynt, gan iddo anmherchi byddinoedd y Duw byw. Dywedodd Dafydd hefyd, Yr Arglwydd, yr hwn a'm hachubodd i o grafanc y llew, ac o balf yr arth, efe a'm hachub i o law y Philistiad hwn. A dywedodd Saul wrth Dafydd, Dos, a'r Arglwydd fyddo gyda thi."—1 SAM. xvii.

## DAFYDD YN LLADD GOLIAH.

A Dafydd "a gymerth ei ffon yn ei law, ac a ddewisodd iddo bump o geryg llyfnion o'r afon, ac a'u gosododd hwynt yn nghôd y bugeiliaid yr hon oedd ganddo, sef yn yr ysgreppan; a'i ffon-dafl oedd yn ei law: ac efe a nesäodd at y Philistiad. A'r Philistiad a gerddodd, gan fyned a nesâu at Dafydd; a'r gŵr oedd yn dwyn y darian o'i flaen ef. A phan edrychodd y Philistiad o amgylch, a chanfod Dafydd, efe a'i diystyrodd ef: canys llanc oedd efe, a gwridgoch, a theg yr olwg. A'r Philistiad a ddywedodd wrth Dafydd, Ai ci ydwyf fi, gan dy fod yn dyfod ataf fi â ffyn? A'r Philistiad a regodd Dafydd trwy ei dduwiau ef. Y Philistiad hefyd a ddywedodd wrth Dafydd, Tyred ataf fi, a rhoddaf dy gnawd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y maes. Yna y dywedodd Dafydd wrth y Philistiad, Ti ydwyt yn dyfod ataf fi â chleddyf, ac â gwaywffon, ac â tharian; a minau ydwyf yn dyfod atat ti yn enw Arglwydd y lluoedd, Duw byddinoedd Israel, yr hwn a geblaist ti. A'r holl gynulleidfa hon a gânt wybod, nad â chleddyf, nac â gwaywffon, y gwared yr Arglwydd (canys eiddo yr Arglwydd yw y rhyfel) ac efe a'ch rhydd chwi yn ein llaw ni. A Dafydd a estynodd ei law i'r gôd, ac a gymerth oddi yno gareg, ac a daflodd, ac a darawodd y Philistiad yn ei dalcen: a'r gareg a soddodd yn ei dalcen ef: ac efe a syrthiodd i lawr ar ei wyneb. Yna Dafydd a gymerth ei gleddyf ef, ac a'i tynodd o'r wain, ac a'i lladdodd ef, ac a dorodd ei ben ef âg ef. A phan welodd y Philistiaid farw o'u cawr hwynt, hwy a ffoisant."—1 Sam. xvii.

---

## ABIGAIL YN DWYN ANRHEGION I DAFYDD.

Bu Dafydd, yn ei grwydriadau a'i drallod, dan orfod i ofyn am gynorthwy mewn taro i Nabal, yr hwn oedd yn ŵr



DAFYDD YN LLADD GOLIAH.



ABIGAIL YN DWYN ANRHEGION I DAFYDD.



DAFYDD YN CYMERYD GWAYWFFON SAUL.

cyfoethog ond afrywiog. Atebodd Nabal y cenadon yn ngwir ysbryd a thymher cybudd, a gwrthododd y cais gyda dirmyg. Penderfynodd Dafydd ddial arno am ei anfoesgarwch, ac arweiniodd nifer o wŷr arfog ato i'r pwrpas. Pan ddeallodd Abigail, gwraig Nabal, yr hon oedd wraig gall a charedig, y pethau hyn, hi "a frysiodd, ac a gymerth ddau cant o fara, a dwy gostrelaid o win, a phump o ddefaid wedi eu gwnethur yn barod, a phum' hobaid o grasŷd, a chan' swp o resin, a dau gan' teisen o ffigys, ac a'u gosododd ar asynod." Gyda'r anrheg oludog a phrydlon hon, cyfarfyddodd â Dafydd a'i wŷr, y rhai oeddent barod i ddinystrio Nabal a'r hyn oll oedd eiddo. Y canlyniad fu i Dafydd gael mwy na'i foddloni gan ymddygiad Abigail; ac ar farwolaeth Nabal cymerodd hi yn wraig iddo."—1 SAM. XXV.

---

## DAFYDD YN CYMERYD GWAYWFFON SAUL.

ER fod Dafydd wedi ei eneinio gan Samuel, nid oedd eto yn frenin, ond yn grwydriad yn cael ei orthrymu a'i erlid, mewn ofnau mawr, ac weithiau yn ffoi yn anobeithiol o flaen ei elynion, y penaf o ba rai ydoedd Saul. Eto, ar amserau, byddai Saul, ei elyn galluog, yn gwbl wrth ei drugaredd; ond yr oedd ffyddlondeb duwiol Dafydd yn ei gadw rhag cymeryd y fantais arno yn yr amgylchiadau hyny. Unwaith, pan oedd Saul yn ceisio Dafydd gyda thair mil o wŷr, aeth y gŵr ieuanc heb ond un dyn gydag ef, i wersyll Saul yn y nos, a daeth i'r fan y gorweddai, gyda'i waywffon wedi ei gwthio i'r ddaiar wrth ei obenydd. Anogai Abisai, cyfaill Dafydd, ef i ladd Saul ag un ergyd; ond dywedodd Dafydd, "Yr Arglwydd a'm cadwo i rhag estyn fy llaw yn erbyn eneiniog yr Arglwydd: ond yn awr, cymer, atolwg, y waywffon, a'r llestr dwfr, ac awn ymaith." Gwnaethant hyn heb ddihuno y cysgadur.—1 SAM. XXVI.

## SAUL YN CODI SAMUEL O'R BEDD.

Parodd caredigrwydd Dafydd i galon Saul dyneru am dymhor, ond ni wellhaodd ei eiddigedd a'i genfigen dwfn tuag ato. Ni chymerodd y llwybr priodol ychwaith i geisio ffafr a chyfarwyddyd yr Arglwydd, yr hwn, gan hyny, a wrthododd ei ateb trwy offeiriad, prophwyd, na breuddwydion. Yn y cyfyngder hwn ceisiodd gymhorth ysbrydion drwg. Wedi cael person cyfaddas i'w bwrpas, yr hon a elwid Dewines o Endor, ymddyeithriodd, ac aeth ef, a dau ŵr arall gydag ef, at y wraig liw nos. "Ac efe a ddywedodd, Dewinia, atolwg, i mi trwy yspryd dewiniaeth, a dwg i fyny ataf fi yr hwn a ddywedwyf wrthyt. Yna y dywedodd y wraig, Pwy a ddygaf i fyny atat ti? Ac efe a ddywedodd, Dwg i mi Samuel i fyny. A'r wraig a ganfu Samuel, ac a lefodd â llef uchel. Yntau a ddywedodd wrthi, Pa ddull sydd arno ef? A hi a ddywedodd, Gŵr hen sydd yn dyfod i fyny, a hwnw yn gwisgo mantell." Yna y cafodd Saul, trwy y llais hwn o'r bedd, y ddedryd ddychrynllyd o gondemniad a dinystr iddo ei hunan a'i dŷ. "Yr Arglwydd a giliodd oddiwrthyt, ac a ddaeth yn elyn i ti, ac a rwygodd y freniniaeth o'th law di, ac a'i rhoddes hi i Dafydd. Yr Arglwydd hefyd a ddyry Israel gyda thi yn llaw y Philistiaid; ac y fory byddi di a'th feibion gyda mi."—2 Sam. xxviii.

---

## ABNER YN LLADD ASAHEL.

Ar ol marwolaeth Saul, cymerodd Abner mab Ner, tywysog llu Saul, Isboseth mab Saul, ac a'i gwnaeth ef yn frenin ar Israel. Ond glynodd tŷ Judah wrth Dafydd. Yn ystod y sefyllfa hon ar bethau cymerodd llawer o derfysg a thywallt gwaed le rhwng pleidwyr y



SAUL YN CODI SAMUEL O'R BEDD.



ABNER YN LLADD ASAHEL.



GALAR DAFYDD AM ABNER.

ddau deulu. Adroddir un o'r amgylchiadau fel hyn :—"A thri mab Serfiah oedd yno, Joab, ac Abisai, ac Asahel: ac Asahel oedd mor fuan ar ei draed ag un o'r iyrchod sydd yn y maes. Ac Asahel a ddylynodd ar ol Abner; ac wrth fyned ni throdd ar y tu dehau nac ar y tu aswy, oddiar ol Abner. Ac Abner a ddywedodd wrth Asahel, Cilia oddiar fy ol i: paham y tarawaf di i lawr? Ond efe a wrthododd ymado. Am hyny Abner a'i tarawodd ef â bôn y waywffon dan y bumed ais, a'r waywffon a aeth allan o'r tu cefn iddo; ac efe a syrthiodd yno, ac a fu farw."—2 SAM. ii.

---

## GALAR DAFYDD AM ABNER.

ANFODDLONWYD Abner, yr hwn a fu yn dywysog milwriaeth Saul, oblegyd cwyn a ddygwyd yn ei erbyn gan Isboseth, enciliodd at Dafydd, a daeth i ffafr uchel gyda'i feistr. Cyffrodd hyn eiddigedd Joab, tywysog llu Dafydd; a dywedodd wrtho, "Ti a adwaenit Abner mab Ner, mai i'th dwyllo di y daeth efe, ac i wybod dy fynediad allan, a'th ddyfodiad i mewn, ac i wybod yr hyn oll yr wyt ti yn ei wneuthur. A phan ddychwelodd Abner i Hebron, Joab a'i trodd ef o'r neilldu yn y porth, i ymddiddan âg ef mewn heddwch; ac a'i tarawodd ef yno dan y bumed ais, fel y bu efe farw, oherwydd gwaed Asahel ei frawd ef. Ac wedi hyny y clybu Dafydd, ac y dywedodd, Dieuog ydwyf fi a'm breniniaeth gerbron yr Arglwydd byth, oddiwrth waed Abner mab Ner: syrthied ar ben Joab, ac ar holl dŷ ei dad ef. A'r brenin Dafydd oedd yn myned ar ol yr elor. A'r brenin a ddyrchafodd ei lef, ac a wylodd wrth fedd Abner; a'r holl bobl a wylasant. A'r brenin a alarnadodd am Abner."—2 SAM. iii.

## DAMEG NATHAN.

Er fod Dafydd yn benadur, ac yn meddu pob bendithion tymhorol ddylasai eu dymuno, eto syrthiodd i bechod tra ysgeler, yn achos Bathseba, gwraig Urïas. I'r dyben i gael gwraig y dyn hwn, gyrodd Urïas i ryfel, a pharodd ei osod mewn sefyllfa fel ag i wneyd ei farwolaeth yn sicr. Lladdwyd Urïas, a chymerodd Dafydd ei wraig yn ddioed iddo ei hun. Wedi hyn y ceisiwyd y troseddwr breninol gan Nathan, a chyfarchodd ef mewn geiriau, yn y diwedd a wanasant ei enaid, ac a gynyrchasant y cynllun hwnw o gyffes a gweddi edifeiriol, yr unfed Salm ar ddeg a deugain. "A'r Arglwydd a anfonodd Nathan at Dafydd. Ac efe a ddaeth ato ef, ac a ddywedodd wrtho, Dau ŵr oedd yn yr un ddinas; y naill yn gyfoethog, a'r llall yn dlawd. Gan y cyfoethog yr oedd llawer iawn o ddefaid a gwartheg: a chan y tlawd nid oedd dim ond un oenig fechan, yr hon a brynasai efe, ac a fagasai; a hi a gynyddasai gydag ef, a chyda'i blant: o'i damaid ef y bwytai hi, ac o'i gwpan ef yr yfai hi, ac yn ei fynwes ef y gorweddai hi, ac yr oedd hi iddo megys merch. Ac ymdeithydd a ddaeth at y gŵr cyfoethog; ond efe a arbedodd gymeryd o'i ddefaid ei hun, ac o'i wartheg ei hun, i arlwyo i'r ymdeithydd a ddaethai ato; ond efe a gymerth oenig y gŵr tlawd, ac a'i parotôdd i'r gŵr a ddaethai ato. A digofaint Dafydd a enynodd yn ddirfawr wrth y gŵr; ac efe a ddywedodd wrth Nathan, Fel mai byw yr Arglwydd, euog o farwolaeth yw gŵr a wnaeth hyn, ac nad arbedodd. A dywedodd Nathan wrth Dafydd, Ti yw y gŵr."—2 Sam. xii.

---

## JOAB YN LLADD ABSALOM.

Yr oedd Absalom yn hoff fab i Dafydd, ond yr oedd yn fachgen drwg. Lladdodd Amnon ei frawd, a chododd



DAMEG NATHAN.



JOAB YN LLADD ABSALOM.



CORONI SOLOMON YN LLE DAFYDD.

wrthryfel yn erbyn ei dad. Parodd y rhyfel cartrefol lawer o dywallt gwaed yn Israel, wrth ymladd fel hyn â'u gilydd. Gorchymynodd Dafydd, yr hwn oedd eto yn caru ei fab anffyddlon, i Joab tywysog ei lu, gan ddywedyd, "Byddwch esmwyth, er fy mwyn i, wrth y llanc Absalom. Ac yno y bu lladdfa fawr y dwthwn hwnw, sef ugain mil. Canys y rhyfel oedd yno wedi gwasgaru ar hyd wyneb yr holl wlad. Ac Absalom a gyfarfu â gweision Dafydd. Ac Absalom oedd yn marchogaeth ar ful, a'r mul a aeth dan dewfrig derwen fawr, a'i ben ef a lynodd yn y dderwen: felly yr oedd efe rhwng y nefoedd a'r ddaiar; a'r mul oedd dano ef a aeth ymaith. A rhyw un a ganfu hyny, ac a fynegodd i Joab, ac a ddywedodd, Wele, gwelais Absalom yn nghrog mewn derwen. Yna y dywedodd Joab, nid arhoaf fel hyn gyda thi. Ac efe a gymerth dair o bicellau yn ei law, ac a'u brathodd drwy galon Absalom, ac efe eto yn fyw yn nghanol y dderwen. A'r deg llanc y rhai oedd yn dwyn arfau Joab a amgylchynasant, ac a darawsant Absalom, ac a'i lladdasant ef."—2 Sam. xviii.

---

## CORONI SOLOMON YN LLE DAFYDD

Pan welodd Dafydd fod olyniad Solomon i orsedd Israel yn cael ei beryglu gan ymddygiad gwrthryfelgar Adoniah, penderfynodd wneyd y peth yn sicr trwy fynu coroni Solomon yn gyhoeddus ger ei fron ef. Felly Sadoc yr offeiriad, a Nathan y prophwyd a aethant i waered, a gwnaethant i Solomon farchogaeth ar fules y brenin Dafydd. "A Sadoc yr offeiriad a gymerth gorn o olew allan o'r babell, ac a eneiniodd Solomon. A hwy a udganasant mewn udgorn; a'r holl bobl a ddywedasant, Bydded fyw y brenin Solomon." Ar hyn ymostyngodd Adoniah, ond rhoddwyd ef i farwolaeth wedi hyny am drosedd arall."—1 Bren. i.

## BARN SOLOMON.

Ceisiodd Solomon, yr enwocaf o'r breninoedd Iuddewig, ddoethineb gan Dduw o flaen golud, anrhydedd, a hir ddyddiau; felly cafodd y rhodd, yr hon sydd fwy ei gwerth na phob bendith ddaiarol. Rhoddir esiampl o'i ddoethineb yn y drydedd bennod o lyfr cyntaf y Breninoedd:—"Yna dwy wraig a ddaethant at y brenin, ac a safasant ger ei fron ef. A'r naill wraig a ddywedodd, O fy Arglwydd, myfi a'r wraig hon oeddym yn trigo yn yr un tŷ; ac yr oeddym ni yn nghyd, heb arall yn tŷ gyda ni, ond nyni ein dwyoedd yn tŷ. A mab y wraig hon a fu farw liw nos; oherwydd hi a orweddodd arno ef. A hi a gododd yn nghanol y nos, ac a gymerodd fy mab i o'm hymyl, tra yr ydoedd dy law-forwyn yn cysgu, ac a'i gosododd ef yn ei mynwes hi, a'i mab marw hi a osododd hi yn fy mynwes inau. A phan godais i y boreu i beri i'm mab sugno, wele, marw oedd efe: ac wedi i mi ddal arno y boreu, wele, nid fy mab i, yr hwn a esgoraswn i, ydoedd efe. A'r wraig arall a ddywedodd, Nag ê; eithr fy mab i yw y byw, a'th fab dithau yw y marw. A hon a ddywedodd, Nag ê: eithr dy fab di yw y marw, a'm mab i yw y byw. Fel hyn y llefarasant o flaen y brenin. A dywedodd y brenin, Dygwch i mi gleddyf. A hwy a ddygasant gleddyf o flaen y brenin. A'r brenin a ddywedodd, Rhenwch y bachgen byw yn ddau, a rhoddwch yr hanner i'r naill, a'r hanner i'r llall. Yna y dywedodd y wraig bïoedd y mab byw wrth y brenin (canys ei hymysgaroedd a gynhesai wrth ei mab) ac a lefarodd, O fy arglwydd, rhoddwch iddi hi y bachgen byw, ac na leddwch ef ddim: ond y llall a ddywedodd, Na fydded eiddof fi na thithau, eithr rhenwch ef. Yna yr atebodd y brenin, ac y dywedodd, Rhoddwch y bachgen byw iddi hi, ac na leddwch ef ddim: dyna ei fam ef. A holl Israel a glywsant y farn a farnasai



BARN SOLOMON.



SOLOMON YN GWEDDIO DROS Y BOBL.



YMWELIAD BRENINES SEBA A SOLOMON.

y brenin; a hwy a ofnasant y brenin: canys gwelsant fod doethineb Duw ynddo ef, i wneuthur barn."—1 BREN. iii.

## SOLOMON YN GWEDDIO DROS Y BOBL.

AR gysegriad y Deml y tywalltodd y brenin Solomon y weddi hyawdl a chyffrous hòno sydd yn yr wythfed bennod o lyfr cyntaf y Breninoedd:—"A Solomon a safodd o flaen allor yr Arglwydd, yn ngwydd holl gynulleidfa Israel, ac a estynodd ei ddwylaw tua'r nefoedd."—1 BREN. viii.

## YMWELIAD BRENINES SEBA A SOLOMON.

"A PHAN glybu brenines Seba glod Solomon, am enw yr Arglwydd, hi a ddaeth i'w brofi ef â chwestiynau caled. A hi a ddaeth i Jerusalem â llu mawr iawn, â chamelod yn dwyn aroglau, ac aur lawer iawn, a meini gwerthfawr. A hi a ddaeth at Solomon, ac a lefarodd wrtho ef yr hyn oll oedd yn ei chalon. A Solomon a fynegodd iddi hi ei holl ofynion: nid oedd dim yn guddiedig rhag y brenin, a'r na fynegodd efe iddi hi. A phan welodd brenines Seba holl ddoethineb Solomon, a'r tŷ a adeiladasai efe, a bwyd ei fwrdd, ac eisteddiad ei weision, a threfn ei weinidogion, a'u dillad hwynt, a'i drulliadau ef, a'i esgynfa ar hyd yr hon yr âi efe i fyny i dŷ yr Arglwydd; nid oedd mwyach yspryd ynddi. A hi a ddywedodd wrth y brenin, Gwir yw y gair a glywais yn fy ngwlad am dy ymadroddion di, ac am dy ddoethineb. Eto ni chredais y geiriau, nes i mi ddyfod, ac i'm llygaid weled: ac wele, ni fynegasid i mi yr hanner: mwy yw dy ddoethineb a'th ddaioni nâ'r glod a glywais i. Gwyn fyd dy wŷr di, gwyn fyd dy weision hyn, y rhai sydd yn sefyll yn wastadol ger dy fron di, ac yn clywed dy ddoethineb." Ac wedi cyflwyno anrheg rhagorol o drysorau gwerthfawr i Solomon, ymadawodd brenines Seba."—1 BREN. x.

## ADFERIAD LLAW JEROBOAM.

YR oedd hwn yn un o'r breninoedd eilun-addolgar, a dröai y bobl oddiwrth yr Arglwydd, ac a wnai i Israel bechu. Yn lle addoli yr Arglwydd yr hwn a drigai rhwng y cerubiaid yn y Deml yn Jerusalem, gwnaeth ddau lo aur, gosododd hwy i fyny mewn gwahanol barthau o'r wlad, a dysgodd y bobl i addoli ger eu bron. Gwnaeth hyn i gadw y bobl o Jerusalem, lle yr oedd ei gydymgeisydd Rehoboam, mab Solomon, yn teyrnasu. Am hyny anfonodd Duw brophwyd at yr allor yn Bethel, i rag-ddywedyd y byddai i fab o deulu Dafydd, Josiah dan ei enw, losgi esgyrn offeiriaid Jeroboam ar yr allor; ac fel arwydd o wirionedd y brophwydoliaeth, rhwygodd yr allor yn ddisymwth, a diffrwythodd llaw Jeroboam wrth iddo ei hestyn allan i ddal y prophwyd. Ond adferwyd hi iddo yn fuan. "A'r brenin a atebodd ac a ddywedodd wrth ŵr Duw, Gweddïa, atolwg, ger bron yr Arglwydd dy Dduw, ac ymbil drosof fi, fel yr adferer fy llaw i mi. A gŵr Duw a weddïodd ger bron yr Arglwydd; a llaw y brenin a adferwyd iddo ef, ac a fu fel cynt."—1 BREN. xiii.

---

## LLEW YN LLADD Y PROPHWYD ANUFUDD.

MAE hon, yn wir, yn hanes brudd. Yr oedd gŵr Duw, oblegyd felly y gelwir ef yn yr hanes, wedi dwyn ei genadwri yn ffyddlon at Jeroboam; ac, mewn ufudd-dod i'r gorchymyn dwyfol, wedi gwrthod cymeryd lluniaeth, er ei gymhell gan y brenin i wneyd hyny. Ond dyfeisiodd prophwyd celwyddog fagl iddo, oddiar eiddigedd efallai, oblegyd iddo gael ei anfon yn genad at y brenin, a chyflawnodd ei ddinystr fel hyn; "Ac efe (y prophwyd celwyddog) a aeth ar ol gŵr Duw, ac a'i cafodd yn eistedd



ADFERIAD LLAW JEROBOAM.



LLEW YN LLADD Y PROPHWYD ANUFUDD.



ELIAS YN CAEL EI BORTHI GAN GIGFRAIN.

dan dderwen; ac a ddywedodd wrtho, Ai tydi yw gŵr Duw yr hwn a ddaethost o Judah? Ac efe a ddywedodd, Iё, myfi. Yna, efe a ddywedodd wrtho, Tyred adref gyda mi, a bwyta fara." Gwrthododd ar y cyntaf; ond o'r diwedd gorchfygwyd ef gan anwiredd y prophwyd twyllodrus. Ond pan yn eistedd wrth y bwrdd daeth gair yr Arglwydd at y prophwyd anufudd, a chondemniodd ef am ei drosedd gan gyhoeddi y ddedfryd arno gyda llaw. "Ac wedi iddo fyned ymaith, llew a'i cyfarfu ef ar y ffordd, ac a'i lladdodd ef: a bu ei gelain ef wedi ei bwrw ar y ffordd, a'r asyn oedd yn sefyll yn ei ymyl ef, a'r llew yn sefyll wrth y gelain."—1 BREN. xiii.

---

## ELIAS YN CAEL EI BORTHI GAN GIGFRAIN.

DILYNODD Ahab, brenin Israel, yn ffyrdd drygionus ei rag-flaenoriaid. Pechodd yn fawr yn erbyn Duw a dyn, a themtiodd yr Arglwydd y tu hwnt i bawb fu o'i flaen; ac i ddangos ei anfoddlonrwydd, anfonodd Duw ei brophwyd i'w geryddu, ac i rag-ddywedyd na fyddai gwlith na gwlaw, am rai blynyddoedd; ac felly y bu. Yn y cyfamser, pennodwyd Elias, yr hwn nas gallasai fyw heb ddarpariaeth arbenig, i ymguddio wrth afon Cerith; a'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y boreu a'r prydnawn, ac efe a yfai o'r afon. Wedi i'r afon sychu anfonodd yr Arglwydd ef i gael ei borthi at wraig weddw o Sarephtah. Cyfeirir at y sychder hwn gan yr apostol Iago, yr hwn a ddefnyddia yr amgylchiad i ddangos nerth gweddi y cyfiawn, er ei fod yn ddarostyngedig i ddyoddef fel ninau.—1 BREN. xvii.

## ELIAS A'R WRAIG O SAREPHTAH.

"A GAIR yr Arglwydd a ddaeth ato ef (Elias), gan ddywedyd, Cyfod, dos i Sarephtah, yr hon sydd yn perthyn i Sidon, ac aros yno: wele, gorchymynais i wraig weddw dy borthi di yno. Felly efe a gyfododd, ac a aeth i Sarephtah. A phan ddaeth efe at borth y ddinas, wele yno wraig weddw yn casglu briw-wŷdd: ac efe a alwodd arni, ac a ddywedodd, Dwg, atolwg, i mi ychydig ddwfr mewn llestr, fel yr yfwyf. Ac a hi yn myned i'w gyrchu, efe a alwodd arni, ac a ddywedodd, Dwg, atolwg, i mi damaid o fara yn dy law. A hi a ddywedodd, Fel mai byw yr Arglwydd dy Dduw, nid oes genyf deisen, ond llonaid llaw o flawd mewn celwrn, ac ychydig olew mewn ystên: ac wele fi yn casglu dau o friw-wŷdd, i fyned i mewn, ac i barotoi hyny i mi ac i'm mab, fel y bwytaom hyny, ac y byddom feirw. Ac Elias a ddywedodd wrthi, Nac ofna, dos, gwna yn ol dy air: eto gwna i mi o hyny deisen fechan yn gyntaf, a dwg i mi; a gwna i ti ac i'th fab ar ol hyny. Canys fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Y blawd yn y celwrn ni threulir, a'r olew o'r ystên ni dderfydd, hyd y dydd y rhoddo yr Arglwydd wlaw ar wyneb y ddaiar. A hi a aeth, ac a wnaeth yn ol gair Elias: a hi a fwytaodd, ac yntau, a'i thylwyth, ysbaid blwyddyn. Ni ddarfu y celwrn blawd, a'r ystên olew ni ddarfu, yn ol gair yr Arglwydd, yr hwn a ddywedasai efe trwy law Elias."—1 BREN. xvii.

---

## ELIAS YN ADFERU MAB Y WEDDW.

"Ac wedi y pethau hyn y clefychodd mab gwraig y tŷ, ac yr oedd ei glefyd ef mor gryf, fel na thrigodd anadl ynddo. A hi a ddywedodd wrth Elias, Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, gŵr Duw? a ddaethost ti ataf i goffâu fy anwiredd.



ELIAS A'R WRAIG O SAREPHTAH.



ELIAS YN ADFERU MAB Y WEDDW.



ELIAS YN GWATWAR PROPHWYDI BAAL.

ac i ladd fy mab? Ac efe a ddywedodd wrthi, Moes i mi dy fab Ac efe a'i cymerth ef o'i mynwes hi, ac a'i dug ef i fyny i ystafell yr oedd efe yn aros ynddi, ac a'i gosododd ef ar ei wely ei hun. Ac efe a lefodd ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd, O Arglwydd fy Nuw, a ddrygaist ti y wraig weddw yr ydwyf fi yn ymdeithio gyda hi, gan ladd ei mab hi? Ac efe a ymestynodd ar y bachgen dair gwaith, ac a lefodd ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd, O Arglwydd fy Nuw, dychweled, atolwg, enaid y bachgen hwn iddo eilwaith. A'r Arglwydd a wrandawodd ar lef Elias: ac enaid y bachgen a ddychwelodd i mewn iddo, ac efe a ddadebrodd."—1 BREN. xvii.

---

## ELIAS YN GWATWAR PROPHWYDI BAAL.

HERIODD Elias, yr hwn oedd yn ymddiried yn ddiysgog yn y Creawdwr Hollalluog, Ahab eilun-addolgar, a gorchymynodd iddo alw holl Israel yn nghyd, a'r pedwar cant a deg a deugain o brophwydi Baal, er cynyg offrwm i Baal ac i Jehofah, i brofi pa un oedd y gwir Dduw. Wedi i offeiriaid Baal barotoi eu hoffrwm, galwasant ar eu duw dros oriau am dân i ddifa yr aberth, ond heb atebiad. Yna gwawdiodd Elias hwynt, a cheryddodd ynfydrwydd eilun-addoliaeth trwy watwareg o'r fath lymaf. "A bu ar hanner dydd, i Elias eu gwatwar hwynt, a dywedyd, Gwaeddwch a llef uchel: canys Duw yw efe; naill ai ymddiddan y mae, neu erlid, neu ymdeithio y mae efe; fe a allai ei fod yn cysgu, ac mai rhaid ei ddeffro ef. A hwy a waeddasant â llef uchel, ac a'u torasant eu hunain yn ol eu harfer â chyllill ac âg ellynod, nes i'r gwaed ffrydio arnynt. Ac wedi iddi fyned dros hanner dydd, a phrophwydo o honynt nes offrymu yr hwyr-offrwm; eto nid oedd llef, na neb yn ateb, nac yn ystyried."—1 BREN. xviii.

## TAN O'R NEFOEDD YN YSU OFFRWM ELIAS.

"A DYWEDODD Elias wrth yr holl bobl, Nesewch ataf fi. A'r holl bobl a nesasant ato ef. Ac efe a gyweirodd allor yr Arglwydd, yr hon a ddrylliasid. Ac Elias a gymerth ddeuddeg o geryg, yn ol rhifedi llwythau meibion Jacob, yr hwn y daethai gair yr Arglwydd ato, gan ddywedyd, Israel fydd dy enw di. Ac efe a adeiladodd â'r meini allor yn enw yr Arglwydd; ac a wnaeth ffos o gylch lle dau fesur o had, o amgylch yr allor. Ac efe a drefnodd y coed, ac a ddarniodd y bustach, ac a'i gosododd ar y coed; Ac a ddywedodd, Llenwch bedwar celyrnaid o ddwfr, a thywelltwch ar y poeth-offrwm, ac ar y coed. A phan offrymid yr hwyr-offrwm, Elias y prophwyd a nesaodd, ac a ddywedodd, O Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, ac Israel, gwybydder heddyw mai ti sydd Dduw yn Israel, a minau yn was i ti, ac mai trwy dy air di y gwnaethum i yr holl bethau hyn. Gwrando fi, O Arglwydd, gwrando fi, fel y gwypo y bobl hyn mai tydi yw yr Arglwydd Dduw, ac mai ti a ddychwelodd eu calon hwy drachefn. Yna tân yr Arglwydd a syrthiodd, ac a ysodd y poeth-offrwm, a'r coed, a'r ceryg, a'r llwch, ac a leibiodd y dwfr oedd yn y ffos. A'r holl bobl a welsant, ac a ddywedasant, Yr Arglwydd, efe sydd Dduw, yr Arglwydd, efe sydd Dduw."—1 BREN. xviii.

---

## LLABYDDIO NABOTH I FARWOLAETH.

GWELSOM fod Ahab wedi pechu yn fawr yn erbyn yr Arglwydd trwy ei eilun-addoliaeth. Yr oedd hefyd yn anghyfiawn a drygionus tuag at ddyn. "Ac yr oedd gwinllan gan Naboth yn Jezreel, wrth balas Ahab brenin Samaria. Ac Ahab a lefarodd wrth Naboth, gan ddywedyd, Dyro i mi dy winllan, fel y byddo hi i mi yn ardd


TAN O'R NEFOEDD YN YSU OFFRWM ELIAS.


LLABYDDIO NABOTH I FARWOLAETH.


LLADD CENADAU AHAZIAH.

lysiau, canys y mae hi yn agos i'm tŷ i: a mi a roddaf i ti am dani hi winllan well nâ hi; neu, os da fydd genyt, rhoddaf i ti ei gwerth hi yn arian. A Naboth a ddywedodd wrth Ahab, Na ato yr Arglwydd i mi roddi treftadaeth fy hynafiaid i ti. Ac Ahab a ddaeth i'w dŷ yn athrist ac yn ddigllawn. Ond Jezebel ei wraig a ddywedodd wrtho, Paham y mae dy yspryd mor athrist, ac nad wyt yn bwyta bara?" Yna adroddodd Ahab ei ddymuniad, a'i siomedigaeth trwy wrthodiad penderfynol Naboth. Parodd Jezebel iddo i gofio ei fod yn frenin, a chynghorodd ef i fwyta a bod yn llawen; gan ychwanegu y rhoddasai hi iddo ddymuniad ei galon. Felly, cafodd au-dystion, y rhai a dystiolaethasant i Naboth gablu Duw a'r brenin. "Yna, hwy a'i dygasant ef allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiasant ef â meini fel y bu efe farw."—1 Bren. xxi.

---

## LLADD CENADAU AHAZIAH.

Mab Ahab oedd y brenin hwn, yr hwn a esgynodd i'r orsedd ar ei ol, ac a'i dylynodd yn ei ffyrdd drygionus. Pan glafychodd, yn lle ceisio trugaredd gan yr Arglwydd, nac ymofyn âg ef, anfonodd genadau at Baal-zebub, duw Ecron, i ofyn a fyddai efe byw o'r clefyd hwnw. Pan geryddodd Elias ef am yr annuwioldeb hwn, anfonodd dri thywysog, a deg-a-deugain o wŷr gyda phob un o honynt, i gymeryd Elias yn garcharor. Ond nid oedd gŵr Duw i gael ei draddodi i'w dwylaw; i'r gwrthwyneb, syrthiasant hwy yn ysglyfaeth i'w byrbwylldra eu hunain a'u brenin. Pan geisiodd tywysog y deg-a-deugain gan Elias i ddyfod i waered o'i eisteddle ar ben y bryn, atebodd y prophwyd; —"Os gŵr Duw ydwyf fi, disgyned tân o'r nefoedd, ac ysed di a'th ddeg-a-deugain. A thân a ddisgynodd o'r nefoedd, ac a'i hysodd ef a'i ddeg-a-deugain."—2 Bren. i.

## CYMERYD ELIAS I'R NEF.

Wedi i'r gŵr enwog hwn i Dduw gyflawni ei ddyddiau ar y ddaiar, a chwblhau y genadwriaeth ddwyfol yr anfonwyd ef o'i herwydd gyda ffyddlondeb diball, cafodd ei arbed rhag profi marwolaeth na llygredigaeth y bedd. "A phan oedd yr Arglwydd ar gymeryd i fyny Elias mewn corwynt i'r nefoedd, aeth Elias ac Eliseus allan o Gilgal. A dywedodd Elias wrth Eliseus, Gofyn y peth a wnelwyf i ti, cyn fy nghymeryd oddi wrthyt. A dywedodd Eliseus, Bydded gan hyny, atolwg, ddau parth o'th yspryd di arnaf fi. Dywedodd yntau, Gofynaist beth anhawdd; os gweli fi wrth fy nghymeryd oddi wrthyt, fe fydd i ti felly; ac onide, ni bydd. Ac fel yr oeddynt hwy yn myned dan rodio ac ymddiddan, wele gerbyd tanllyd, a meirch tanllyd, a hwy a'u gwahanasant hwynt ill dau. Ac Elias a ddyrchafodd mewn corwynt i'r nefoedd."—2 Bren. ii.

---

## ELISEUS YN BWRW HALEN I'R DYFROEDD.

Gwnaeth Eliseus amryw wyrthiau ar ol ymadawiad ei feistr; y cyntaf oedd gwahanu dyfroedd yr Iorddonen, fel y gwnaeth Elias, trwy eu taro â'i fantell. Y wyrth nesaf oedd iachau dyfroedd afiach Jericho; dyma yr adroddiad o'r hanes:—"A gwŷr y ddinas a ddywedasant wrth Eliseus, Wele, atolwg, ansawdd y ddinas, da yw, fel y mae fy arglwydd yn gweled: ond y dyfroedd sydd ddrwg, a'r tir yn ddiffaeth. Ac efe a ddywedodd, Dygwch i mi phiol newydd, a dodwch ynddi halen. A hwy a'i dygasant ato ef. Ac efe a aeth at ffynnonell y dyfroedd, ac a fwriodd yr halen yno, ac a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Mi a iachëais y dyfroedd hyn: ni bydd oddi yno farwolaeth mwyach, na diffrwythdra. Felly yr iachawyd y dyfroedd hyd y dydd hwn."—2 Bren. ii.


CYMERYD ELIAS I'R NEF.


ELISEUS YN BWRW HALEN I'R DYFROEDD.


EIRTH YN DRYLLIO Y PLANT.

## EIRTH YN DRYLLIO Y PLANT.

MAE yn y dygwyddiad nesaf yn hanes Eliseus wers arbenig i bobl ieuainc; rhybuddia hwy, os gwawdiant bethau santaidd, neu ddynion santaidd, na wna eu hieuenctyd eu harbed rhag condemniad, na rhag barn fuan oddiwrth Dduw, os enynant ei lid, fel y rhai a nodir yn yr hanes hon. "Ac efe a aeth i fyny oddiyno i Bethel; ac fel yr oedd efe yn myned i fyny ar hyd y ffordd, plant bychain a ddaeth allan o'r ddinas, ac a'i gwatwarasant ef, ac a ddywedasant wrtho ef, Dos i fyny moelyn, dos i fyny moelyn. Ac efe a drodd yn ei ol, ac a edrychodd arnynt, ac a'u melldithiodd yn enw yr Arglwydd. A dwy arth a ddaeth allan o'r goedwig, ac a ddrylliodd o honynt ddau blentyn a deugain." Mae y canlynol yn efelychiad o benillion o eiddo Dr. Watts oddiwrth yr amgylchiad:—

Gadewch y gwatwar fyth ar ol;
  A feiddio ddrwg mor fawr,
Am bethau da, a dynion da,
  Y nef a'u tyr i lawr.

Pan roddai y gwatwarus blant
  I Eliseus 'fath lo's,
A gwaeddi'n wawdlyd ar ei ol,
  "I fyny, moelyn, dos."

Ataliodd Duw eu bywyd drwg,
  Trwy eirth erchylla'u llun,
Y rhai a'u drylliodd gyda gwg,
  A lladdwyd hwy bob un!

O Dduw! ofnadwy ydwyt ti,
  I bechod, 'nod mewn plant;
Cyfrana ras i'm dysgu i
  Reoli drwg a chwant.—2 BREN. ii.

## IACHAU NAAMAN O'I WAHANGLWYF.

Clefyd y croen oedd y gwahanglwyf, yr oedd yn un tra ffiaidd a chyndyn, ac yr oedd y cenedloedd Dwyreiniol yn hynod o ddarostyngedig iddo. Rhoddir y cyfarwyddiadau i drin personau ynddo, a'u nheillduad oddiwrth eraill, gyda manylrwydd mawr yn llyfr Lefiticus. Yr oedd Naaman, tywysog llu brenin Syria, yn wahanglwyfus. "A'r Syriaid a aethant allan yn finteioedd, ac a gaethgludasent o wlad Israel lances fechan; a hòno oedd yn gwasanaethu gwraig Naaman. A hi a ddywedodd wrth ei meistres, O na byddai fy arglwydd o flaen y prophwyd sydd yn Samaria: canys efe a'i hiachai ef o'i wahanglwyf. Ac un a aeth ac a fynegodd i'w arglwydd, gan ddywedyd, Fel hyn ac fel hyn y dywedodd y llances o wlad Israel." Anfonodd brenin Syria gan hyny at frenin Israel, ac anfonodd anrhegion cyfoethog gyda'r cais. Pan glybu brenin Israel y cais, dangosodd syndod a digofaint; ond pan glybu Eliseus am y peth, dymunodd ar Naaman i ddyfod ato ef. "Yna Naaman a ddaeth â'i feirch ac â'i gerbydau, ac a safodd wrth ddrws tŷ Eliseus. Ac Eliseus a anfonodd ato ef genad, gan ddywedyd, Dos ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen; a'th gnawd a ddychwel i ti, a thithau a lanheir. Ond Naaman a ddigiodd, ac a aeth ymaith; ac a ddywedodd, Wele, mi a feddyliais ynof fy hun, gan ddyfod y deuai efe allan, ac y safai efe, ac y galwai ar enw yr Arglwydd ei Dduw, ac y gosodai ei law ar y fan, ac yr iachai y gwahanglwyfus. Onid gwell Abana a Pharpar, afonydd Damascus, nâ holl ddyfroedd Israel? oni allaf ymolchi ynddynt hwy, ac ymlanhau? Felly efe a drodd, ac a aeth ymaith mewn digter. A'i weision a ddywedasant, Fy nhad, pe dywedasai y prophwyd beth mawr wrthyt ti, onis gwnelsit? pa faint mwy, gan iddo ddywedyd wrthyt, Ymolch, a bydd lân? Ac yna efe a aeth



IACHAU NAAMAN O'I WAHANGLWYF.



ELISEUS YN PERI I'R HAIARN NOFIO.



SATHRU YR ANNGHREDADYN I FARWOLAETH.

i waered, ac a ymdrochodd saith waith yn yr Iorddonen, yn ol gair gŵr Duw: a'i gnawd a ddychwelodd fel cnawd dyn bach, ac efe a lanhawyd."—2 BREN. v.

---

## ELISEUS YN PERI I'R HAIARN NOFIO.

"A MEIBION y prophwydi a ddywedasant wrth Eliseus, Wele yn awr, y lle yr hwn yr ydym ni yn trigo ynddo ger dy fron di, sydd rŷ gyfyng i ni. Awn yn awr hyd yr Iorddonen, fel y cymerom oddi yno bawb ei drawst, ac y gwnelom i ni yno le i gyfaneddu ynddo. Dywedodd yntau, Ewch. Ac un a ddywedodd, Bydd foddlawn, atolwg, a thyred gyda'th weision. Dywedodd yntau, Mi a ddeuaf. Felly efe a aeth gyda hwynt. A hwy a ddaethant at yr Iorddonen, ac a dorasant goed. A phan oedd un yn bwrw i lawr drawst, ei fwyell ef a syrthiodd i'r dwfr. Ac efe a waeddodd, ac a ddywedodd, Och fi, fy meistr; canys benthyg oedd. A gŵr Duw a ddywedodd, Pa le y syrthiodd? Yntau a ddangosodd iddo y fan. Ac efe a dorodd bren, ac a'i taflodd yno; a'r haiarn a nofiodd. Ac efe a ddywedodd, Cymer i fyny i ti. Ac efe a estynodd ei law, ac a'i cymerodd."—2 BREN. vi.

---

## SATHRU YR ANNGHREDADYN I FARWOLAETH.

MAE annghrediniaeth, pan yn codi oddiar ddallineb gwirfoddol y galon, a diffyg ymddiried yn ngair Duw, ac yn enwedig yn mhrophwydi a gweinidogion Duw, yn bechod mawr a pheryglus. Yr oedd Eliseus wedi gwneuthur gwyrthiau ddigon gerbron Iuddewon a Chenedloedd, i wneyd ei air yn gredadwy i bawb, gan nad pa mor hynod fyddai ei hysbysiad. Rhoddir esiampl darawiadol o gosbedigaeth y pechod hwn yn marwolaeth gwatwarwr annghrediniol yn ystod gwarchae Samaria gan y Syriaid.—2 BREN. vii.

## MARWOLAETH ELISEUS A'R WYRTH YN EI FEDD.

Er na chafodd Eliseus ei symud i'r nefoedd heb brofi marwolaeth, fel Elias, y mae yn amlwg iddo gael, yn ol ei ddymuniad, ddeuparth o yspryd Elias i orphwys arno; oblegyd, nid yn unig gwnaeth lawer fwy o wyrthiau yn ei fywyd na'i ragflaenor, ond arosai y gallu dwyfol yma yn ei gorph hyd yn nod yn y bedd. "Ac Eliseus a fu farw, a hwy a'i claddasant ef. A minteioedd y Moabiaid a ddaethant i'r wlad y flwyddyn hòno. A phan oeddynt hwy yn claddu gŵr, wele hwy a ganfuant dorf, ac a fwriasant y gŵr i feddrod Eliseus. A phan aeth y gŵr i lawr a chyffwrdd âg esgyrn Eliseus, efe a ddadebrodd, ac a gyfododd ar ei draed."—2 Bren. xiii.

---

## ANGEL YN LLADD YR ASSYRIAID.

Hezeciah ydoedd un o freninoedd Judah, a brenin da ydoedd ar y cyfan, er fod rhai diffygion a gwendidau yn cael eu hadrodd am dano. Yn y bedwaredd bennod ar bymtheg o ail lyfr y Breninoedd cawn ef yn cael ei fygwth gan genadwriaethau tost a chableddus brenin Assyria, yr hwn oedd eisoes wedi gorchfygu a chaethgludo Israel, ac wedi cymeryd hefyd ddinasoedd caerog Judah. Anfonwyd Rabsaceh ac eraill at Hezeciah, gydag ymadroddion ysgornllyd a beiddgar, a iaith gableddus tuag at Dduw Judah. "A phan glybu y brenin Hezeciah hyny, efe a rwygodd ei ddillad, ac a ymwisgodd â sachlïan, ac a aeth i mewn i dŷ yr Arglwydd. Ac efe a anfonodd at Esaiah mab Amos, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed Hezeciah, Diwrnod cyfyngdra, a cherydd, a chabledd, yw y dydd hwn. Fe allai y gwrendy yr Arglwydd dy Dduw holl eiriau Rabsaceh, yr hwn a anfonodd brenin Assyria



MARWOLAETH ELISEUS A'R WYRTH YN EI FEDD.



ANGEL YN LLADD YR ASSYRIAID.



Y CYSGOD YN DYCHWELYD AR Y DEIAL.

ei feistr ef i gablu y Duw byw, ac y cerydda efe y geiriau a glybu yr Arglwydd dy Dduw: am hyny dyrcha dy weddi dros y gweddill sydd i'w gael. Felly gweision y brenin Hezeciah a ddaethant at Esaiah. Ac Esaiah a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Nac ofna y geiriau a glywaist, trwy y rhai y cablodd gweision brenin Assyria fi. Wele fi yn rhoddi arno ef wynt, ac efe a glyw swn, ac a ddychwel i'w wlad: gwnaf hefyd iddo syrthio gan y cleddyf yn ei wlad ei hun. A'r noson hòno yr aeth angel yr Arglwydd, ac a darawodd yn ngwersyll yr Assyriaid bump a phedwar ugain a chant o filoedd. Felly Senacherib brenin Assyria a ymadawodd, ac a aeth ymaith, ac a ddychwelodd, ac a drigodd yn Ninefeh."—2 Bren. xix.

---

## Y CYSGOD YN DYCHWELYD AR Y DEIAL.

Amlygwyd trugaredd a hynawsedd yr Anfeidrol tuag at Hezeciah drachefn yn ei achos ei hun yn bersonol, pan syrthiodd yn glaf, a phan rybuddiwyd ef gan y prophwyd Esaiah i barotoi i farw. Trodd y brenin cystuddiedig ei wyneb at y pared, a thywalltodd ei gwyn o flaen y Duw yr oedd wedi ei wasanaethu gyda'r fath ddifrifoldeb a llwyddiant, fel yr anfonwyd Esaiah i ymweled âg ef, a dwyn y newydd graslawn iddo. "Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Dafydd dy dad, Clywais dy weddi di, gwelais dy ddagrau; wele fi yn dy iachâu di; y trydydd dydd yr âi di i fyny i dŷ yr Arglwydd. A mi a ychwanegaf at dy ddyddiau di bymtheg mlynedd; a hyn fydd i ti yn argoel oddiwrth yr Arglwydd; ac efe (yr Arglwydd) a drodd y cysgod ar hyd y graddau, ar hyd y rhai y disgynasai efe yn neial Ahaz, ddeg o raddau yn ei ol."—2 Bren. xx.

## LLABYDDIO HADORAM.

UN o freninoedd drygionus Judah oedd Rehoboam. Pan ddygodd yr Israeliaid eu cwynion ger ei fron, a deisyfu arno ysgafnhau y beichiau trymion oedd yn eu llethu, yn lle ymddwyn atynt yn dirion a charedig, dangosodd fyrbwylldra anystyriol ac ystyfnig gŵr ieuanc dibrofiad; ac atebodd eu cais gyda bygythion a beiddgarwch. Dywedodd wrthynt, "Fy mŷs bach fydd ffyrfach nâ llwynau fy nhad; fy nhad a'ch ceryddodd chwi â ffrewyllau, a minau a'ch ceryddaf ag ysgorpionau." Cynyrchodd yr atebiad drygionus a gwallgof hwn wrthryfel yn mysg y bobl, a lladdasant gasglydd trethi y brenin pan nesaodd atynt. "Ar brenin Rehoboam a anfonodd Hadoram, yr hwn oedd ar y dreth, a meibion Israel a'i llabyddiasant ef â meini fel y bu efe farw."—2 CRON. x.

---

## SEDECIAH YN RHODDI CERNOD I MICHEAH.

PAN oedd Ahab yn frenin Israel, yr oedd Jehosaphat yn frenin ar Judah, ac yr oeddent mewn cyfathrach â'u gilydd. Ewyllysiai Ahab fyned i fyny i ymladd i Ramoth-Gilead, a chydsyniodd Jehosaphat â'i gais i fyned gydag ef. Ond gan fod yr hynt hon yn bwnc o bwysigrwydd a phryder mawr, yr oedd Jehosaphat yn awyddus am ymgynhori â'r Arglwydd yn yr achos Galwodd Ahab bedwar cant o brophwydi, a rhoddodd y gofyniad o'u blaen. "Dywedasant hwythau, Dos i fyny; canys Duw a'i dyry yn llaw y brenin. Ond Jehosaphat a ddywedodd, Onid oes yma un prophwyd i'r Arglwydd eto mwyach, fel yr ymgynghorem âg ef. A brenin Israel a ddywedodd wrth Jehosaphat, Y mae eto un gŵr trwy yr hwn y gallem ymgynhori â'r Arglwydd: ond y mae yn gâs genyf fi ef: canys nid yw yn prophwydo i mi ddaioni, ond drygioni erioed: efe yw Micheah mab Imla. A Sedeciah mab Cenaanah a wnaethai iddo ei hun gyrn heiyrn, ac efe a



LLABYDDIO HADORAM.



SEDECIAH YN RHODDI CERNOD I MICHEAH.



LLADD ATHALIAH.

ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, A'r rhai hyn y corni di y Syriaid, nes i ti eu difa hwynt. A'r holl brophwydi oedd yn prophwydo fel hyn. A Micheah a ddywedodd, Wele yr Arglwydd a roddodd yspryd celwyddog yn ngenau dy brophwydi hyn; a'r Arglwydd a lefarodd ddrwg am danat ti. Yna Sedeciah a nesaodd, ac a darawodd Micheah dan ei gern, ac a ddywedodd, Pa ffordd yr aeth yspryd yr Arglwydd oddi wrthyf fi i ymddiddan â thydi? A Micheah a ddywedodd, Wele, ti a gai weled y dwthwn hwnw, pan elych di o ystafell i ystafell i ymguddio."—2 CRON. xviii.

---

## LLADD ATHALIAH.

MAM Ahazia, brenin Judah, ydoedd Athaliah. Yr oedd yn cynghori ei mab mewn drygioni, ac yntau yn rhodio yn ol ei chyngor, ac yn ffyrdd ei dadau annuwiol; ond lladdwyd ef gan Jehu. "Ond pan welodd Athaliah mam Ahaziah farw o'i mab, hi a gyfododd, ac a ddifethodd holl freninol had tŷ Judah," oddigerth Joas mab Ahaziah, yr hwn a guddiwyd. "Ac efe a fu yn nghudd gyda hwynt yn nhŷ Dduw chwe' blynedd: ac Athaliah oedd yn teyrnasu ar y wlad." Ond yn y seithfed flwyddyn cododd Jehoiada yr offeiriad chwyldroad o blaid Joas. "Ac Athaliah a edrychodd, ac wele y brenin yn sefyll wrth ei golofn yn y ddyfodfa, a holl bobl y wlad yn llawen, ac yn lleisio mewn udgyrn; a'r cantorion âg offer cerdd, a'r rhai a fedrent foliannu. Yna Athaliah a rwygodd ei dillad, ac a ddywedodd, Bradwriaeth, bradwriaeth! A Jehoiada yr offeiriad a ddug allan dywysogion y canoedd, sef swyddogion y llu, ac a ddywedodd wrthynt, Dygwch hi allan o'r rhesau: a'r hwn a ddelo ar ei hol hi, lladder ef â'r cleddyf. A hwy a roddasant ddwylaw arni hi, a hi a ddaeth tua'r porth y deuai y meirch i dŷ y brenin, ac yno y lladdasant hwy hi."—2 CRON. xxii. xxiii.

## TARO UZZIAH A GWAHANGLWYF.

GWNAED Uzziah yn frenin yn un-ar-bymtheg oed, yn lle Amaziah ei dad. Ymofynodd â'r Arglwydd yn nyddiau y prophwyd Zechariah, a llwyddodd Duw ei arfau yn erbyn ei elynion, a gwnaeth iddo enw mawr; ond pan ddyrchafodd ei feddwl yn ei lwyddiant, cyffrodd yr Arglwydd i ddigio. Ymgymerodd yn rhyfygus â'r swydd offeiriadol, a llosgodd arogl-darth yn y Deml er gwaethaf yr offeiriaid. Er dangos ei anfoddlonrwydd i'r rhyfyg annuwiol hwn, tarawodd yr Arglwydd y brenin â'r gwahanglwyf pan yn yr *act* o halogi ei gysegr santaidd. "Ac Uzziah y brenin a fu wahanglwyfus hyd ddydd ei farwolaeth."—2 CRON. xxvi.

---

## YR OFFEIRIAID A'R LEFIAID YN MOLIANNU YR ARGLWYDD.

DYGODD parhad gwrthryfel ac eilun-addoliaeth yr Israeliaid arnynt o'r diwedd y gosbedigaeth oedd yr Arglwydd wedi hir fygwth arnynt am eu pechodau. Goresgynodd Nebuchodonosor brenin Babilon y wlad, cymerodd Jerusalem, dygodd nifer mawr o'r bobl yn garcharorion, a chaethgludodd hwy i Babilon. Mae llyfr Ezra yn cynwys hanes eu hadferiad dan Zorobabel, ar ol caethiwed o driugain-a-deg o flynyddau. Cymerwyd Babilon gan Cyrus, tywysog Darius, brenin Persia, ac wedi marw Darius daeth Cyrus yn frenin yn ei le. Ac nid yn unig rhyddhaodd hwn yr Iuddewon, ond rhoddodd orchymyn iddynt i ail-adeiladu y Deml; a dychwelodd iddynt y llestri aur ac arian a ddygwyd ymaith. "A phan oedd y seiri yn sylfaenu teml yr Arglwydd, hwy a osodasant yr offeiriaid yn eu gwisgoedd âg udgyrn, a'r Lefiaid meibion Asaph â symbalau, i foliannu yr Arglwydd, yn ol ordinhad



TARO UZZIAH A GWAHANGLWYF.



OFFEIRIAID A LEFIAID YN MOLIANU'R ARGLWYDD



YR ADEILADWYR YN DAL ARFAU YN EU DWYLAW

Dafydd brenin Israel. A hwy a gyd-ganasant, wrth foliannu ac wrth glodfori yr Arglwydd, mai da oedd, mai yn dragywydd yr ydoedd ei drugaredd ef ar Israel. A'r holl bobl a floeddiasant â bloedd fawr, gan foliannu yr Arglwydd, am sylfaenu tŷ yr Arglwydd."—EZRA iii.

---

## YR ADEILADWYR YN DAL ARFAU YN EU DWYLAW.

"OND pan glybu Sanbalat, a Thobïah, a'r Arabiaid, a'r Ammoniaid, a'r Asdodiaid, gwbl-gyweirio muriau Jerusalem, a dechreu cau yr adwyau; yna y llidiasant yn ddirfawr: a hwynt oll a frad-fwriadasant yn nghyd i ddyfod i ymladd yn erbyn Jerusalem, ac i'w rhwystro. Yna y gweddïasom ar ein Duw, ac y gosodasom wyliadwriaeth yn eu herbyn hwynt ddydd a nos, o'u plegyd hwynt. A'n gwrthwynebwyr a ddywedasant, Ni chânt wybod, na gweled, nes i ni ddyfod i'w mysg hwynt, a'u lladd, a rhwystro eu gwaith hwynt. Am hyny mi a osodais rai yn y lleoedd isaf, o'r tu ol i'r mur, ac yn y lleoedd uchaf; yn ol eu teuluoedd hefyd y gosodais y bobl, â'u cleddyfau, â'u gwaywffyn, ac â'u bwäau. A mi a edrychais, ac a gyfodais, ac a ddywedais wrth y pendefigion, a'r swyddogion, ac wrth y rhan arall o'r bobl, Nac ofnwch rhagddynt: cofiwch yr Arglwydd mawr ac ofnadwy, ac ymleddwch dros eich brodyr, eich meibion a'ch merched, eich gwragedd a'ch tai. Ac o'r dydd hwnw, hanner fy ngweision oedd yn gweithio yn y gwaith, a'u hanner hwynt oedd yn dal gwaywffyn. Y rhai oedd yn adeiladu ar y mur, ac yn dwyn beichiau, a'r rhai oedd yn llwytho, oeddynt âg un llaw yn gweithio yn y gwaith, ac â'r llaw arall yn dal arf."—NEH. iv.

## EZRA YN DARLLEN Y GYFRAITH O FLAEN Y BOBL.

Yn ystod y caethiwed yr oedd llyfrau y gyfraith, ac hyd y nod addoliad Duw, wedi eu hesgeuluso, ac agos wedi eu hanghofio. Ar ol yr adferiad ail-sefydlwyd yr addoliad drachefn, yn ol gorchymyn yr Arglwydd. Cadwyd Gwyl y Pebyll am saith niwrnod gan y bobl oedd yn trigo mewn bythynod wedi eu gwneyd o gangau y coed. Yr oedd Ezra eisoes wedi casglu a threfnu llyfrau y gyfraith; ac ar y dydd cyntaf o'r seithfed mis, casglodd y bobl yn nghyd, a darllenodd y gyfraith yn eu gwydd, gan osod allan y synwyr, fel y gwelent eu pechodau a'u gwrthgiliadau, ac fel y gallent roddi ufudd-dod mwy cyson a manwl rhagllaw. Yna "bendithiodd y Duw mawr; a'r holl bobl a atebasant, Amen, amen."—Neh. viii.

---

## MORDECAI YN RHODDI COPI O'R YSGRIFEN.

Mae llyfr Esther yn cynwys hanes caethes Iuddewig o'r enw hwnw, yr hon a enillodd serchiadau Ahasferus, brenin Persia. Trwy rinwedd ei phriodas a'r penadur hwn, codwyd Esther i'r orsedd; ond ymddengys i'r ffaith mai Iuddewes ydoedd gael ei guddio yn ofalus trwy gyngor Mordecai, un arall o'r caethion Hebreaidd. Ar y pryd hwn, cymhellwyd y brenin gan ffafr neu fympwy i ddyrchafu Haman, dyn balch ac uchelfrydig, a'i godi uwchlaw yr holl dywysogion oedd gydag ef. Yn ol gorchymyn y brenin, ac arferion Dwyreiniol, telid gwarogaeth corphorol i'r dyn dyrchafedig hwn gan y rhai oedd o'i gwmpas. Ond nid ymgrymai Mordecai, ac nid ymostyngai iddo. "A phan welodd Haman nad oedd Mordecai yn ymgrymu nac ymostwng iddo, Haman a lanwyd o ddigllonedd. Am hyny Haman a geisiodd ddyfetha yr holl Iuddewon, y rhai oedd trwy holl freniniaeth Ahas-


EZRA YN DARLLEN Y GYFRAITH O FLAEN Y BOBL.


MORDECAI YN RHODDI COPI O'R YSGRIFEN.


HAMAN YN ANRHYDEDDU MORDECAI.

ferus, sef pobl Mordecai." Felly llwyddodd y dyn creulon a maleisus hwn i gael ysgrifen oddiwrth y penaeth Persiaidd i ladd yr holl Iuddewon oedd o fewn terfynau ei lywodraeth. Taflodd hyn Mordecai, fel y gallesid dysgwyl, i'r pryder a'r trallod mwyaf. Dygwyd y newydd am drallod Mordecai i Esther, ac yn fuan, cafodd wybod yr achos o hono; oblegyd rhoddodd Mordecai gopi o'r ysgrifen a roddasid yn Susan i ddyfetha yr Iuddewon i Hathach, ei chenadwr."—ESTHER iv. v.

---

## HAMAN YN ANRHYDEDDU MORDECAI.

DYGODD dylanwad Esther, yn nghyd â rhyw deimlad o uniondeb yn meddwl Ahasferus, gyfnewidiad buan yn mhwnc yr ysgrifen a gafwyd gan Haman yn erbyn yr Iuddewon. Trodd y brenin ei feddyliau at Mordecai, a chafodd iddo fod yn offerynol i gadw ei fywyd ef o ddwylaw llofruddion, ac na roddwyd yr un wobr iddo am y gwasanaeth hwnw. Yn awr, tra yr oedd Haman yn barod i fyned i mewn i gyffroi y brenin i grogi Mordecai, galwyd arno at y penadur i'w hyfforddi beth i wneyd i'r gŵr y mynai y brenin ei anrhydeddu. Dywedodd Haman, heb ammau nad efe oedd y gŵr a fwriedid i'r anrhydedd hwnw:—"Dygant y wisg freninol iddo yr hon a wisg y brenin, a'r march y merchyg y brenin arno, a rhodder y freninol goron am ei ben ef: a rhodder yn llaw un o dywysogion ardderchocaf y brenin, a gwisgant am y gŵr y mae y brenin yn chwennych ei anrhydeddu, a pharant iddo farchogaeth ar y march trwy heol y ddinas. Yna y brenin a ddywedodd wrth Haman, Brysia, cymer y wisg a'r march, fel y lleferaist, a gwna felly i Mordecai. Felly Haman a gymerth y wisg a'r march, ac a wisgodd am Mordecai, ac a wnaeth hefyd iddo farchogaeth trwy heol y ddinas, ac a gyhoeddodd o'i flaen ef, Fel hyn y gwneir i'r gŵr y mae y brenin yn mynu ei anrhydeddu."—ESTHER vi.

## CYHUDDO A CHROGI HAMAN.

"FELLY daeth y brenin a Haman i gyfeddach gydag Esther y frenines. A dywedodd y brenin wrth Esther drachefn, Beth yw dy ddymuniad, Esther y frenines? gofyn hyd yn hanner y deyrnas, ac fe'i cwblheir A'r frenines Esther a atebodd, ac a ddywedodd, O chefais ffafr yn dy olwg di, O frenin, ac o rhyglydda bodd i'r brenin, rhodder i mi fy einioes ar fy nymuniad, a'm pobl ar fy neisyfiad. Canys gwerthwyd ni, myfi a'm pobl, i'n dinystrio, i'n lladd, ac i'n dyfetha. Yna y llefarodd y brenin wrth Esther y frenines, Pwy yw hwnw? a pha le y mae efe, yr hwn a glywai ar ei galon wneuthur felly? A dywedodd Esther Y gwrthwynebwr a'r gelyn yw yr Haman ddrygionus hwn. Yna Haman a ofnodd gerbron y brenin a'r frenines. A Harbonah un o'r ystafellyddion a ddywedodd yn ngwydd y brenin, Wele y crog-bren a barotodd Haman i Mordecai, yr hwn a lefarodd ddaioni am y brenin, yn sefyll yn nhŷ Haman, yn ddeg cufydd a deugain o uchder. Yna y dywedodd y brenin, Crogwch ef ar hwnw. Felly hwy a grogasant Haman ar y pren a barasai efe ei ddarparu i Mordecai. Yna digllonedd y brenin a lonyddodd."—ESTHER vii.

---

## FFAFR Y BRENIN I ESTHER A MORDECAI.

"Y DWTHWN hwnw y rhoddodd y brenin Ahasferus i'r frenines Esther dŷ Haman gwrthwynebwr yr Iuddewon. A Mordecai a ddaeth o flaen y brenin. A'r brenin a dynodd ymaith y fodrwy a gymerasai efe oddiwrth Haman, ac a'i rhoddodd i Mordecai. Ac Esther a osododd Mordecai ar dŷ Haman. Ac Esther a lefarodd drachefn gerbron y brenin, ac ymbiliodd âg ef am fwrw ymaith ddrygioni Haman yr Agagiad, a'i fwriad yr hwn a fwriadasai efe yn erbyn yr Iuddewon. A'r brenin a estynodd y deyrnwialen aur tuag at Esther. Yna Esther a gyfododd, ac a safodd o flaen y brenin, ac a ddywedodd, O bydd bodd



CYHUDDO A CHROGI HAMAN.



FFAFR Y BRENIN I ESTHER A MORDECAI.



JOB YN DERBYN NEWYDDION AM EI GOLLEDION.

lawn gan y brenin, ysgrifener am alw yn ol lythyrau bwriad Haman y rhai a ysgrifenodd efe i ddifetha yr Iuddewon sydd trwy holl daleithiau y brenin. Canys pa fodd y gallaf edrych ar y drygfyd a gaiff fy mhobl? a pha fodd y gallaf edrych ar ddifetha fy nghenedl? A'r brenin Ahasferus a ddywedodd wrth Esther y frenines, ac wrth Mordecai yr Iuddew, Ysgrifenwch chwithau hefyd dros yr Iuddewon fel y gweloch yn dda, yn enw y brenin. Ac yr oedd llawenydd a hyfrydwch gan yr Iuddewon, gwledd hefyd, a diwrnod daionus."—Esther viii.

---

## JOB YN DERBYN NEWYDDION AM EI GOLLEDION.

Mae llyfr Job yn cynwys hanes dyn oedd mor enwog am ei burdeb ac uniondeb ei gymeriad, ag ydoedd am ei anrhydedd, ei olud, a'i ddedwyddwch teuluaidd. Ond goddefodd yr Arglwydd iddo, er mwyn profi ei ffydd, gael ei amddifadu yn ddisymwth o'i fendithion lliosog, a'i suddo ar unwaith i gyfres o'r trallodion dyfnaf. Yn y bennod gyntaf cawn hanes llwyddiant blaenorol Job; a'i rhoddiad yn llaw Satan i'w demtio, ac agos i'w ddymchwelyd â gofidiau. Delai cenad ar ol cenad a newyddion am ysbeiliad ei feddiannau, a dinystr ei blant a'i weision. Ar ddydd gwledd a llawenydd y daeth y newyddion am ei golledion pwysig i'w glustiau. Pan oedd ei ofidiau yn cael eu symio i fyny gan hanes y tŷ yn syrthio ar ei feibion ac yn eu lladd—"Y cyfododd Job, ac a rwygodd ei fantell, ac a eilliodd ei ben, ac a syrthiodd i lawr, ac a addolodd; ac a ddywedodd, Noeth y daethum o groth fy mam, a noeth y dychwelaf yno. Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Ac ychwanegir,—"Yn hyn i gyd ni phechodd Job, ac ni roddodd yn ynfyd ddim yn erbyn Duw."—Job i.

## JOB A'I DRI CHYFAILL.

Gwnaed adfyd Job yn fwy chwerw gan dymer annuwiol ei wraig, yr hon yn lle cysuro ei yspryd cystuddiedig, a cheisio cryfhau ei ffydd yn Nuw, a'i cynghorodd ef, yn nyfnder ei brofedigaeth, i wadu ei grefydd; i felldithio Duw a marw. Gofynai yn chwerw a dirmygus,—"A wyt ti eto yn parhau yn dy berffeithrwydd?" Ac ni wnaeth ei dri chyfaill enwog—cynllun o lawer o gyfeillion oerllyd a chreulon—esmwythau dim ar ei ddyoddefiadau. Nis gall dim fod yn dostach na rhai o'r brawddegau cyntaf yn araeth Eliphaz. "Wele, ti a ddysgaist lawer, ac a gryfheaist ddwylaw wedi llaesu, a'r gliniau oedd yn camu. Ond yn awr, daeth arnat tithau, ac y mae yn flin genyt; cyffyrddodd â thi, a chyffroaist. Cofia, atolwg, pwy, ac efe yn ddiniwed, a gollwyd? Galw yn awr, od oes neb a etyb i ti, ac at bwy o'r saint y troi di? Canys digllondeb a ladd yr ynfyd, a chenfigen a ladd yr annoeth. Ei feibion ef a bellheir oddiwrth iachawdwriaeth: dryllir hwynt hefyd yn y porth." Mae y creulondeb didrugaredd a welir yn nghoffâd yr adnod olaf, yn cyfeirio at y trychineb a gofnodir yn y bennod flaenaf.—Job iv. v.

---

## CYFEILLION JOB YN ABERTHU.

Er i gyfeillion Job yn ddiau ddyweyd llawer yn nghynwys eu hareithiau, oedd yn wir a da, eto yr oedd yn gymysgedig â chyfeiliornad, a'r yspryd yn ddrwg. Ac heblaw hyny, yr oedd y cyhuddiadau a'r cerydd yn annhymoraidd, ac felly yn gwneyd ei ddyoddefiadau yn llawer trymach. Felly, wedi iddynt orphen, a Job ateb, dyrchafodd yr Hollalluog ei lais, a hawliodd ei awdurdod. Gostyngodd Job ei glust i wrando geiriau y Goruchaf, ac ymgrymodd i'r llwch. Dywedodd—"Myfi a glywais â'm clustiau son



JOB A'I DRI CHYFAILL.



CYFEILLION JOB YN ABERTHU.



GWAREDIGAETH JOB.

am danat: ond yn awr fy llygad a'th welodd di. Am hyny y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun; ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw. A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Eliphaz y Temaniad, Fy nigofaint a gyneuodd yn dy erbyn di, ac yn erbyn dy ddau gyfaill; am na ddywedasoch am danaf fi yn uniawn fel fy ngwasanaethwr Job. Yn awr gan hyny cymerwch i chwi saith o fustych, a saith o hyrddod, ac ewch at fy ngwasanaethwr Job, ac offrymwch boeth-aberth drosoch; a gweddïed fy ngwasanaethwr Job drosoch: canys mi a dderbyniaf ei wyneb ef: fel na wnelwyf i chwi yn ol eich ffolineb, am na ddywedasoch yn uniawn am danaf fi, fel fy ngwasanaethwr Job. Felly Eliphaz y Temaniad, a Bildad y Suhiad, a Sophar y Naamathiad a aethant ac a wnaethant fel y dywedasai yr Arglwydd wrthynt. A'r Arglwydd a dderbyniodd wyneb Job."—Job xlii.

---

## GWAREDIGAETH JOB.

Mae yr hanes brydferth ac addysgiadol hon, er ei bod yn dechreu gyda thrychineb ac adfyd, yn gorphen gyda maddeuant, llawenydd, a bendith, o'r mwyaf arbenig a helaeth. "Yna yr Arglwydd a ddychwelodd gaethiwed Job, pan weddïodd efe dros ei gyfeillion: a'r Arglwydd a chwanegodd yr hyn oll a fuasai gan Job, yn ddau ddyblyg. Yna ei holl geraint, a'i holl garesau, a phawb o'i gydnabod ef o'r blaen, a ddaethant ato, ac a'i cysurasant ef; a hwy a roddasant iddo bob un ddarn o arian, a phob un dlws o aur. Felly yr Arglwydd a fendithiodd ddiwedd Job yn fwy na'i ddechreuad: canys yr oedd ganddo bedair mil ar ddeg o ddefaid, a chwe' mil o gamelod, a mil o gyplau ychain, a mil o asenod."—Job xlii.

## ANGEL YN CYFFWRDD A GENAU ESAIAH.

YR oedd Esaiah yn disgyn o lwyth Judah, a thybir ei fod yn perthyn i gangen o'r teulu breninol. Efe oedd y cyntaf o'r pedwar prophwyd mwyaf, a dechreuodd ar ei swydd yn y flwyddyn olaf o deyrnasiad Uzziah, oddeutu 758 o flynyddoedd cyn Crist. Mae yn debygol iddo gael ei roddi i farwolaeth trwy orchymyn Manasseh, ac iddo brophwydo tua thriugain ac un o flynyddoedd. Llefara yr Ysgrythyrau am Esaiah bob amser fel prophwyd o'r radd uchaf. Cydnabyddir fod ei arddull yn hynod o oludog, tlws, grymus, ac arddunol; a rhydd hanes mor gyflawn o'r Messiah addawedig a'i deyrnas, fel y gelwir ef y Prophwyd Efengylaidd. Yn y flwyddyn y bu Uzziah farw, gwelodd Esaiah weledigaeth :—" Yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odreu yn llenwi y deml. Y seraphiaid oedd yn sefyll oddiar hyny: a llefodd y naill wrth y llall, ac a ddywedodd, Sant, Sant, Sant, yw Arglwydd y lluoedd, yr holl ddaiar sydd lawn o'i ogoniant ef. Yna y dywedais, Gwae fi : canys darfu am danaf: oherwydd gŵr halogedig ei wefusau ydwyf fi, ac yn mysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo : canys fy llygaid a welsant y brenin, Arglwydd y lluoedd. Yna yr ehedodd ataf un o'r seraphiaid, ac yn ei law farworyn a gymerasai efe oddiar yr allor mewn gefail : ac a'i rhoes i gyffwrdd â'm genau, ac a ddywedodd, Wele, cyffyrddodd hwn â'th wefusau, ac ymadawodd dy anwiredd, a glanhawyd dy bechod. Clywais hefyd lef yr Arglwydd yn dywedyd, Pwy a anfonaf? a phwy a â drosom ni? Yna y dywedais, Wele fi, anfon fi."—ESAIAH vi.

---

## GWELEDIGAETHAU JEREMIAH.

YR oedd y prophwyd hwn yn enedigol o Anathoth, pentref oddeutu tair milldir o Jerusalem. Galwyd ef i'r



ANGEL YN CYFFWRDD A GENAU ESAIAH.



GWELEDIGAETHAU JEREMIAH.



CODI JEREMIAH O'R DAIARDY.

swydd brophwydol yn y drydydd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Josiah, cyn Crist 628, a pharaodd i'w chyflawni am un flynedd a deugain. Goddefwyd iddo aros yn Judea wedi i Nebuchodonosor gaethgludo ei gydwladwyr, ac wedi hyny, enciliodd i'r Aipht. Dywedir iddo gael ei labyddio i farwolaeth yno. Cawn, yn y bennod gyntaf o'r llyfr sydd yn dwyn ei enw, hanes dwy weledigaeth hynod :—"Yna yr Arglwydd a gyffyrddodd â'm genau, a dywedodd wrthyf, Wele, rhoddais fy ngeiriau yn dy enau di. Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd, Jeremiah, beth a weli di? Minau a ddywedais, Gwïalen almon a welaf fi. A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf yr ail waith, gan ddywedyd, Beth a weli di? A mi a ddywedais, Mi a welaf grochan berwedig, a'i wyneb tua'r gogledd. Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, O'r gogledd y tŷr drwg allan ar holl drigolion y tir."—JER. i.

---

## CODI JEREMIAH O'R DAIARDY.

YR oedd prophwydoliaethau Jeremiah yn gyffredin yn cynwys bygythion am bethau blinion, ac am hyny yn annerbyniol gan y rhai y perthynent iddynt; ac felly, cai driniaeth arw oddiar eu dwylaw, ac ar un achlysur cauwyd ef mewn daiardy tomlyd trwy orchymyn y brenin. Ond trwy ymbiliau Ebedmelech yr Ethiopiad, cafodd ei ryddhau. "Felly, Ebedmelech a aeth i dŷ y brenin, ac a gymerodd oddiyno hen fratiau, ac a'u gollyngodd i waered at Jeremiah i'r daiardy wrth raffau. A dywedodd, Gosod yn awr yr hen garpiau a'r pwdr-fratiau hyn dan dy geseiliau odditan y rhaffau. A Jeremiah a wnaeth felly. Felly hwy a dynasant Jeremiah i fyny wrth y rhaffau, ac a'i codasant ef o'r daiardy."—JER. xxxviii.

## GWELEDIGAETH EZECIEL.

Yr oedd Ezeciel yn byw yr un amser a Jeremiah. Caethgludwyd ef i Babilon, gyda Jehoiacim, brenin Judah, 598 o flynyddoedd cyn Crist, a gosodwyd ef, yn mysg llawer eraill o'r genedl, yn agos i afon Chebar, yn Mesopotamia, lle y bendithiwyd ef â'r datguddiad dwyfol sydd yn ei lyfr. Dywedir i'r hyfdra gyda pha un y ceryddai eilun-addoliaeth a drygioni ei gydwladwyr gostio ei fywyd iddo ; ond yr oedd ei goffadwriaeth mewn parch mawr, nid yn unig gan yr Iuddewon, ond hefyd gan y Mediaid a'r Persiaid. Cynwysa y llyfr hwn ymddangosiad gogoneddus yr Arglwydd i'r prophwyd, a'i apwyntiad difrifol i'w swydd. Gellid nodi fod y deuddeg pennod olaf o Ezeciel yn dwyn cyffelybrwydd mawr i'r pennodau olaf yn Natguddiad Ioan. Rhaid i ni gyfeirio i'r bennod gyntaf yn ei lyfr at y weledigaeth gyntaf i Ezeciel.—Ezec. i.

---

## GWELEDIGAETH YR ESGYRN SYCHION.

"Bu llaw yr Arglwydd arnaf, ac a'm dug allan yn yspryd yr Arglwydd, ac a'm gosododd yn nghanol dyffryn, a hwnw oedd yn llawn esgyrn. Ac efe a wnaeth i mi fyned heibio iddynt o amgylch ogylch: ac wele hwynt yn aml iawn ar wyneb y dyffryn ; wele hefyd sychion iawn oeddynt. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha fab dyn, a fydd byw yr esgyrn hyn? A mi a ddywedais, O Arglwydd Dduw, ti a'i gwyddost. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Prophwyda am yr esgyrn hyn, a dywed wrthynt, O esgyrn sychion, clywch air yr Arglwydd. Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth yr esgyrn hyn ; Wele fi yn dwyn anadl i'ch mewn, fel y byddoch byw. Gïau hefyd a roddaf arnoch, a pharaf i gig gyfodi arnoch, gwisgaf chwi hefyd â chroen, a rhoddaf anadl ynoch ; fel y byddoch byw, ac



GWELEDIGAETH EZECIEL.



GWELEDIGAETH YR ESGYRN SYCHION.



GWELEDIGAETH Y DEML NEWYDD.

y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd. Yna y prophwydais fel y'm gorchymynasid; ac fel yr oeddwn yn prophwydo, bu swn, ac wele gynwrf, a'r esgyrn a ddaethant yn nghyd, asgwrn at ei asgwrn. A phan edrychais, wele cyfodasai gïau a chig arnynt, a gwisgasai croen am danynt; ond nid oedd anadl ynddynt. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Prophwyda tua'r gwynt, prophwyda, fab dyn, dywed wrth y gwynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; O anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion hyn, fel y byddont byw. Felly y prophwydais fel y'm gorchymynasid; a'r anadl a ddaeth ynddynt, a buant fyw, a safasant ar eu traed, yn llu mawr iawn. Yna y dywedodd wrthyf, Ha fab dyn, yr esgyrn hyn ydynt dŷ Israel oll. Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi yn agori eich beddau, fy mhobl, codaf chwi hefyd o'ch beddau, a dygaf chwi i dir Israel."—EZEC. xxxvii.

---

## GWELEDIGAETH Y DEML NEWYDD.

YN y naw pennod olaf o Ezeciel cawn hanes gweledigaeth hynod o adeiladaeth Teml newydd, a sefyllfa cymdeithas a llywodraeth, yn gymhwysiadol yn y lle blaenaf, at ddychweliad yr Iuddewon o gaethiwed Babilon, ond yn cyfeirio yn benaf, yn ddiau, at ogoniant cyfnod dyfodol yr Efengyl. Mae yr hanes yn rhy faith i'w gosod yma, ac yn rhy fanwl i wneyd unrhyw ddyfyniad teg o honi. Rhaid i ni gan hyny, gyfeirio y darllenydd at y 40fed bennod o Ezeciel, lle mae y weledigaeth yn dechreu. Dangosir yno, yn gyntaf, ddyn a chorsen fesur yn ei law, yn mesur adeilad newydd a chymhlethedig; rhoddir desgrifiad agos mor fanwl o'i mhuriau, ei phyrth, ei hystafelloedd, a'i haddurniadau, ag a roddir o'r Deml wirioneddol a adeiladwyd gan Solomon.—EZEC. xl.

## DANIEL YN ADRODD BREUDDWYD NEBUCHODONOSOR.

Yr oedd Daniel hefyd yn mysg y gaethglud, wedi ei ddwyn ymaith pan yn ddeunaw neu ugain oed, yn y flwyddyn 606 cyn Crist. Gosodwyd ef yn llys Nebuchodonosor ; a chodwyd ef wedi hyny i radd ac awdurdod uchel yn ymerodraeth Persia yn gystal â Babilon. Efallai mai y cerydd goreu a weinyddwyd erioed i dwyll ydoedd eiddo Nebuchodonosor i ddewiniaid celwyddog yr amseroedd hyny. Breuddwydiodd y brenin freuddwyd, a cheisiai ddau beth oddiwrth y dewiniaid—y breuddwyd ei hun, a'i ddeongliad. A phaham y mae yn anhawddach dyweyd wrth ddyn yr hyn a freuddwydiodd, na rhag-hysbysu dygwyddiadau dyfodol trwyddo, ar ol ei glywed ? Ffordd ragorol i brofi gwir gymhwysderau y brudwyr hyn oedd, gwneyd iddynt adrodd y breuddwyd i'r breuddwydiwr ; a chafodd yr effaith dymunol o ddynoethi eu honiadau twyllodrus. Ar ol iddynt fethu, gorchymynodd Nebuchodonosor i'r holl ddoethion hyn gael eu dinystrio ; ac yr oedd Daniel a'i gyfeillion i syrthio dan y dynged farwol. Ond ceisiodd Daniel, yr hwn nad oedd yn dwyllwr, y datguddiad angenrheidiol oddiwrth Dduw, a chafodd ef. Adroddodd ef, gyda'i holl fanylion dirgelaidd, gerbron y brenin.—Dan. ii.

---

## SADRACH, MESACH, AC ABEDNEGO, YN Y FFWRN DAN.

Yr oedd Daniel yn awr mewn ffafr uchel gyda brenin Babilon, ac yn meddu golud, anrhydedd, ac awdurdod ëang. Trwy genad y brenin, gosododd ei dri chyfaill Iuddewig, Sadrach, Mesach, ac Abednego, yn dywysogion ar dalaeth Babilon. Ond profasant yn fuan beryglon eu dyrchafiad. Gwnaeth Nebuchodonosor ddelw aur, ar gysegriad yr hon yr oedd yr holl bobl i syrthio i lawr i'w haddoli. Yr oedd anufudd-dod i'r gorchymyn hwn i gael



DANIEL YN ADRODD BREUDDWYD NEBUCHODONOSOR.



SADRACH, MESACH, AC ABEDNEGO YN Y FFWRN DAN.



NEBUCHODONOSOR GYDA'R BWYSTFILOD.

ei gosbi â marwolaeth yn y ffwrn dân, yr hon a ddarperesid i'r dyben hwnw. Yr oedd dyrchafiad y tri Iuddew wedi cyffroi eiddigedd a gelyniaeth amryw o'r Caldeaid, ac aethant at y brenin i'w hysbysu fod y gwŷr oedd ef wedi eu dyrchafu yn gwrthod ufuddhau i'w orchymyn, nac addoli y ddelw. Dangosai eu hatebiad dduwioldeb gwrol a diysgog. "Mae ein Duw ni, yr hwn yr ydym yn ei addoli, yn abl i'n gwared ni allan o'r ffwrn danllyd boeth; ac efe a'n gwared ni o'th law di, O frenin. Ac onide, bydded hysbys i ti, frenin, nad addolwn dy dduwiau, ac nad ymgrymwn i'th ddelw aur a gyfodaist." Llidiodd Nebuchodonosor, a gorchymynodd roddi y ddedfryd mewn grym ar unwaith, yr hon oedd mor annghyfiawn fel y lladdwyd y gwŷr hyny a'u taflent i'r tân gan boethder y ffwrn. "A'r tri wŷr hyn, Sadrach, Mesach, ac Abednego, a syrthiasant yn nghanol y ffwrn o dân poeth yn rhwŷm." Synodd y brenin wrth weled pedwar gwŷr rhyddion yn rhodio yn nghanol y tân, a dull y pedwerydd yn debyg i Fab Duw. Wedi ei ddychrynu gan yr olygfa, galwodd y brenin ar y tri Iuddew wrth eu henwau i ddyfod allan; a daethant allan heb niwaid, ac heb sawr y tân arnynt.—Dan. iii.

---

## NEBUCHODONOSOR GYDA'R BWYSTFILOD.

Cafodd y brenin freuddwyd arall, yr hwn a'i blinai yn fawr, ond nis gallasai neb ond Daniel ei ddeongli; rhagfynegai drychineb adfydus i'r brenin; dim llai na gwallgofrwydd a'i dafliad allan o gymdeithas ddynol. Adroddodd y prophwyd y genadwri yn wrol a pharchus, gan ychwanegu cyngor da, yr hwn, mae'n debyg, a esgeuluswyd; oblegyd daeth arno yr hyn oll a rag-ddywedwyd. Tra yn ymddyrchafu yn ei fawredd, tarawyd ef a gwallgofrwydd, a gyrwyd ef oddiwrth ddynion i bori gwellt y maes gyda'r eidionau.—Dan. iv.

## YR YSGRIFEN AR Y PARED.

"BELSASSAR (un arall o freninoedd Babilon) a wnaeth wledd fawr i fil o'i dywysogion, ac a yfodd win yn ngwydd y mil. Yna y dygwyd y llestri aur a ddygasid o deml tŷ Dduw, yr hwn oedd yn Jerusalem : a'r brenin a'i dywysogion, ei wragedd a'i ordderchadon, a yfasant ynddynt. Yfasant win, a moliannasant y duwiau o aur ac o arian, o bres, o haiarn, o goed, ac o faen. Yr awr hòno bysedd llaw dyn a ddaethant allan, ac a ysgrifenasant ar gyfer y canwyllbren ar galchiad pared llys y brenin ; a gwelodd y brenin ddarn y llaw a ysgrifenodd. Yna y newidiodd lliw y brenin, a'i feddyliau a'i cyffroisant ef, fel y datododd rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei liniau ef y naill wrth y llall." Gyrwyd yn awr am y Caldeaid, ond dyryswyd hwy gan yr olygfa, ac ni allent ateb dim. Yr oedd y gorchwyl o ddeongli yn gorphwys ar Daniel eto, ac yr oedd yn rhaid iddo eto ddwyn cenadwri o ddrygfyd a dinystr. A dyma yr ysgrifen a ysgrifenwyd : "MENE, MENE, TECEL, UPHARSIN. Dyma ddeongliad y peth : Duw a rifodd dy freniniaeth, ac a'i gorphenodd. Ti a bwyswyd yn y cloriannau, ac a'th gaed yn brin. Rhanwyd dy freniniaeth, a rhoddwyd hi i'r Mediaid a'r Persiaid. Y noson hòno y lladdwyd Belsassar brenin y Caldeaid. A Darius y Mediad a gymerodd y freniniaeth."
—DAN. V.

---

## DANIEL YN FFAU Y LLEWOD.

'GWELODD Darius yn dda osod ar y deyrnas chwe' ugain o dywysogion, i fod ar yr holl deyrnas ; ac arnynt hwy yr oedd tri rhaglaw (y rhai yr oedd Daniel yn benaf o honynt) ; a'r brenin a feddyliodd ei osod ef ar yr holl deyrnas. Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion oedd yn ceisio cael achlysur yn erbyn Daniel, ond ni fedrent gael un achos na bai. Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion hyn a



YR YSGRIFEN AR Y PARED.



DANIEL YN FFAU Y LLEWOD.



GWELEDIGAETH DANIEL.

aethant yn nghyd at y brenin, ac a ddywedasant wrtho fel hyn; Darius frenin, bydd fyw byth. Holl raglawiaid y deyrnas, y swyddogion, a'r tywysogion, y cynghoriaid, a'r dugiaid, a ymgynghorasant am osod deddf freninol, a chadarnhau gorchymyn, fod bwrw i ffau y llewod pwy bynag a archai arch gan un Duw na dyn dros ddeng niwrnod ar hugain, ond genyt ti, O frenin. Yr awr hon, O frenin, sicrha y gorchymyn. Oherwydd hyn y seliodd y brenin Darius y gorchymyn." Cyrhaeddodd y ddyfais hon yr amcan dymunol o faglu Daniel, oblegyd tair gwaith yn y dydd y gweddïai ar ei Dduw o flaen ei ffenestr agored. Ond er fod y brenin yn awr yn gweled trwy yr ystryw faleisus, ac yn awyddus am achub Daniel, nis gallasai, yn wyneb y bobl, newid cyfraith y Mediaid a'r Persiaid. Felly cyflwynodd Daniel i'r ffau, gyda sicrwydd y buasai Duw yn ei waredu; ac felly yn wir y bu. Ar ol noswaith ddigwsg a phryderus, brysiodd y brenin at y ffau, a galwodd ar Daniel i wybod a oedd Duw wedi ei gadw. "Yna y dywedodd Daniel, O frenin, bydd fyw byth. Fy Nuw a anfonodd ei angel, ac a gauodd safnau y llewod, fel na wnaethant i mi niwaid." Yna gorchymynodd y brenin daflu cyhuddwyr Daniel i'r ffau, a drylliwyd eu hesgyrn yn y fan.—DAN. vi.

---

## GWELEDIGAETH DANIEL.

DAETH yn awr i ran Daniel i gael breuddwydion a gweledigaethau nos o nodwedd dyeithr a dychrynllyd. Yn y seithfed bennod cawn hanes bur gyflawn o honynt, yn nghyd â'r deongliad. Yn y chwech pennod olaf cawn gyfres o brophwydoliaethau yn cyfeirio at ddyfodiad Crist; codiad a chwymp Annghrist; adferiad dyfodol yr Iuddewon; buddugoliaeth Crist ar ei holl elynion; a lledaeniad cyffredinol y wir grefydd.—DAN. vii.

## JONAH YN FFOI I JOPPAH.

YSTYRIR Jonah yr hynaf o'r prophwydi, a thybir ei fod yn byw oddeutu 840 o flynyddoedd cyn Crist. Ganwyd ef yn Gath-hepha, yn Galilea. Er nad oes amheuaeth am ei dduwioldeb, ymddengys ei fod o dymer naturiol gyffrous ac anfoddog. "A gair yr Arglwydd a ddaeth at Jonah mab Amittai, gan ddywedyd, Cyfod, dos i Ninefeh y ddinas fawr, a llefa yn ei herbyn; canys eu drygioni hwynt a ddyrchafodd ger fy mron. A Jonah a gyfododd i ffoi i Tarsis oddi gerbron yr Arglwydd; ac efe a aeth i waered i Joppa. Ond yr Arglwydd a gyfododd wynt mawr yn y môr, a bu yn y môr dymestl fawr, fel y tybygwyd y drylliai y llong."—JONAH i.

---

## TAFLU JONAH I'R MOR.

"YNA y morwyr a ofnasant ac a lefasant bob un ar ei dduw, a bwriasant y dodrefn oedd yn y llong i'r môr, i ymysgafnhau o honynt: ond Jonah a aethai i waered i ystlysau y llong, ac a orweddasai, ac a gysgasai. A meistr y llong a ddaeth ato ef, ac a ddywedodd wrtho, Beth a ddarfu i ti, gysgadur? cyfod, galw ar dy Dduw: fe allai yr ystyr y Duw hwnw wrthym, fel na'n coller. A dywedasant bob un wrth ei gyfaill, Deuwch, a bwriwn goelbrenau, fel y gwypom o achos pwy y mae y drwg hwn arnom. A bwriasant goel-brenau, a'r coel-bren a syrthiodd ar Jonah. A dywedasant wrtho, Atolwg, dangos i ni er mwyn pwy y mae i ni y drwg hwn: beth yw dy gelfyddyd di? ac o ba le y daethost? pa le yw dy wlad? ac o ba bobl yr wyt ti? Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hebread ydwyf fi: ac ofni yr wyf fi Arglwydd Dduw y nefoedd, yr hwn a wnaeth y môr a'r sychdir. A dywedasant wrtho, Beth a wnawn i ti, fel y gostego y môr oddi wrthym? (canys gweithio yr oedd y môr, a therfysgu.)



JONAH YN FFOI I JOPPAH.



TAFLU JONAH I'R MOR.



GWAREDIGAETH JONAH O FOL Y PYSGODYN.

Ac efe a ddywedodd wrthynt, Cymerwch fi, a bwriwch fi i'r môr; a'r môr a ostega i chwi; canys gwn mai o'm hachos i y mae y dymestl fawr hon arnoch chwi. Er hyn y gwŷr a rwyfasant i'w dychwelyd i dir; ond nis gallent. Llefasant gan hyny ar yr Arglwydd, a dywedasant, Atolwg, Arglwydd, atolwg, na ddifether ni am einioes y gŵr hwn, canys ti, O Arglwydd, a wnaethost fel y gwelaist yn dda. Yna y cymerasant Jonah, ac a'i bwriasant ef i'r môr."—JONAH i.

---

## GWAREDIGAETH JONAH O FOL Y PYSGODYN.

DYWEDIR i'r môr ostegu pan daflwyd Jonah iddo. Yr oedd yn y prophwyd gryn deimlad o uniondeb, a dewrder nid ychydig, i symud fel hyn achos y trychineb i ddwylaw y llong. Tybient hwy ei fod yn awr wedi cael y dinystr a haeddai am ryw drosodd mawr. Ond "yr Arglwydd a ddarparasai bysgodyn mawr i lyncu Jonah. A Jonah a fu yn mòl y pysgodyn dri diwrnod a thair nos. A Jonah a weddïodd ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd, O'm hing y gelwais ar yr Arglwydd, ac efe a'm hatebodd; o fòl uffern y gwaeddais, a chlywaist fy llef. Ti a'm bwriaist i'r dyfnder, i ganol y môr; a'r llanw a'm hamgylchodd: dy holl donau a'th lifeiriant a aethant drosof. A minau a ddywedais, Bwriwyd fi o ŵydd dy lygaid: er hyny mi a edrychaf eto tua'th deml santaidd. Y dyfroedd a'm hamgylchasant hyd yr enaid; y dyfnder a ddaeth o'm hamgylch; ymglymodd yr hesg am fy mhen. Disgynais i odreu y mynyddoedd; y ddaiar a'i throsolion oedd o'm hamgylch yn dragywydd: eto ti a ddyrchefaist fy einioes o'r ffos, O Arglwydd fy Nuw. A llefarodd yr Arglwydd wrth y pysgodyn, ac efe a fwriodd Jonah ar y tir sych."—JONAH i. ii.

## JONAH YN PREGETHU CWYMP NINIFEH.

"A GAIR yr Arglwydd a ddaeth yr ail waith at Jonah, gan ddywedyd, Cyfod, dos i Ninifeh y ddinas fawr, a phregetha iddi y bregeth a lefarwyf wrthyt. A Jonah a gyfododd ac a aeth i Ninifeh, yn ol gair yr Arglwydd: (a Ninifeh oedd ddinas fawr iawn o daith dri diwrnod.) A Jonah a ddechreuodd fyned i'r ddinas daith un diwrnod, ac efe a lefodd ac a ddywedodd, Deugain niwrnod fydd eto, a Ninifeh a gwympir. A gwŷr Ninifeh a gredasant i Dduw; ac a gyhoeddasant ympryd, ac a wisgasant sachlian, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt. Canys gair a ddaeth at frenin Ninifeh, ac efe a gyfododd o'i frenin-fainc, ac a ddiosgodd oddiam dano ei frenin-wisg, ac a roddes am dano lian sach, ac a eisteddodd mewn lludw. Ac efe a barodd gyhoeddi (yr ympryd a'r sachlen) trwy Ninifeh, gan ddywedyd, Dychwelant bob un oddiwrth ei ffordd ddrygionus, ac oddiwrth y trawsder sydd yn eu dwylaw. Pwy a ŵyr a drŷ Duw ac edifarhau, o throi oddiwrth angerdd ei ddig, fel na ddifether ni? A gweloddd Duw eu gweithredoedd hwynt, droi o honynt o'u ffyrdd drygionus; ac edifarhaodd Duw am y drwg a ddywedasai y gwnai iddynt, ac nis gwnaeth."—JONAH iii.

---

## CICAION JONAH.

YMDDANGOSAI Jonah yn fwy gofalus am ei anrhydedd a'i eirwiredd ei hun, nag am iachawdwriaeth eneidiau, ac "ymddigiodd" wrth Dduw am iddo arbed Ninifeh; ac atolygodd ar Dduw gymeryd ei einioes ymaith. "A'r Arglwydd a ddywedodd, Ai da yw y gwaith ymddigio o honot? A Jonah a aeth allan o'r ddinas, ac a eisteddodd o'r tu dwyrain i'r ddinas, ac a wnaeth yno gaban iddo ei hun, ac a eisteddodd dano yn y cysgod, hyd oni welai beth a fyddai yn y ddinas. A'r Arglwydd Dduw a ddar-

parodd cicaion, ac a wnaeth iddo dyfu dros Jonah, i fod yn gysgod uwch ei ben ef, i'w waredu o'i ofid: a bu Jonah lawen iawn am y cicaion. A'r Arglwydd a barotodd bryf ar godiad y wawr dranoeth, ac efe a darawodd y cicaion, ac yntau a wywodd. A'r haul a darawodd ar ben Jonah, fel y llewygodd; a dywedodd, Gwell i mi farw nâ byw. A'r Arglwydd a ddywedodd, Ai da yw y gwaith ymddigio o honot am y cicaion? Ti a dosturiaist wrth y cicaion. Ac oni arbedwn i Ninifeh y ddinas fawr, yr hon y mae ynddi fwy nâ deuddeng myrdd o ddynion, y rhai ni wyddant ragor rhwng eu llaw ddehau a'u llaw aswy, ac anifeiliaid lawer?"—JONAH vi.

---

## GWELEDIGAETH ZECHARIAH.

ZECHARIAH ydoedd fab i Berechiah. Ganwyd ef yn ystod y caethiwed, a daeth i Jerusalem pan ganiataodd Cyrus i'r Iuddewon ddychwelyd i'w gwlad eu hun. Dechreuodd brophwydo ddau fis yn ddiweddarach na Haggai, a pharaodd yn ei swydd tua dwy flynedd. "Mi a dröais, ac a ddyrchefais fy llygaid, ac a edrychais: ac wele, bedwar o gerbydau yn dyfod allan oddi rhwng dau fynydd: a'r mynyddoedd oedd fynyddoedd o bres. Yn y cerbyd cyntaf yr oedd meirch cochion, ac yn yr ail gerbyd meirch duon, ac yn y trydydd cerbyd meirch gwynion, ac yn y pedwerydd cerbyd meirch brithion a gwineuon. Yna y dywedais wrth yr angel, Beth yw y rhai hyn? A'r angel a ddywedodd, Dyma bedwar yspryd y nefoedd, y rhai sydd yn myned allan o sefyll gerbron yr Arglwydd."—ZECH. vi.

# HANESION Y BEIBL:

YN CYNNWYS

## TRI CHANT O DDYGWYDDIADAU HYNOD

YN

HANESYDDIAETH Y BEIBL.

GYDAG AGOS I

300 O DDARLUNIAU.

WEDI EU CYFADDASU I'R CYMRY,

GAN Y PARCH. THOMAS LEVI.

---

Y TESTAMENT NEWYDD.

# CYNWYSIAD.

# RHAGYMADRODD.

Mae yr un gwahaniaeth cyffredinol a nodweddiadol rhwng hanesion a dygwyddiadau yr Hen Destament a'r Newydd, ag sydd rhwng dau sefydliad y Ddeddf a'r Efengyl. Dygai y cyntaf "gwmwl, a thywyllwch, a thymhestl," o flaen y y bobl; ac felly perswadiai trwy ofn. Cofnodiad yw hanesiaeth yr Hen Destament, gan mwyaf, o reol ddwyfol o ufudd-dod, ac o droseddau a chosbedigaethau dyn; ond Iachawdwriaeth yw testyn mawr yr Ysgrythyrau Cristionogol. Cyhoeddodd "Cyfryngwr y Cyfamod gwell," mae'n wir, athrawiaeth "pechod, a chyfiawnder, a barn," i ddyfod; a llefarai "fel na lefarodd dyn erioed" pan fyddai cerydd ar ei wefusau; ond ar yr un pryd "elai oddiamgylch," nid i weini dial, ond i "wneuthur daioni." Gweithredoedd o drugaredd a gras yw yr holl weithredoedd a gofnodir i'r Hwn y "rhoddwyd pob barn iddo;" felly gall yr arlunydd fyno arfer ei law ar destynau o'r Testament Newydd, osod ei liwiau tywyll a du o'r neilldu, a chymeryd lliwiau y nefoedd at y golygfeydd, lle mae "Haul y Cyfiawnder wedi codi, a meddyginiaeth yn ei esgyll;" lle mae Crist wedi ymddangos, a "dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni!"

## YR ANGEL YN YMDDANGOS I JOSEPH.

YMDDENGYS i amryw ymgymeryd â rhoddi hanes prynedigaeth dyn, trwy ymgnawdoliad a marwolaeth Iesu Grist ein hunig Iachawdwr, yn amser yr Efengylwyr; ond pedair hanes awdurdodedig sydd genym, ac y mae y rhai hyn, gydag Actau yr Apostolion, yn ffurfio math o *bentateuch*, neu bum' llyfr hanesiol y Testament Newydd, yn cyfateb i bum' llyfr Moses dan yr Hen. Rhoddir achau Crist, o ran ei ddynoliaeth, yn y bennod gyntaf gan Matthew; ond nid yw, bid sicr, ond achyddiaeth ei fam, gan mai Mab Duw ydoedd. Dynes ieuanc dylawd oedd Mair, eto yr oedd o deulu Dafydd, ac wedi ei dyweddio, neu gydsynio, i briodi Joseph y saer, yr hwn oedd hefyd o deulu breninol Dafydd. Tra yr oedd Joseph, gŵr bwriadol Mair, mewn trallod wrth y cyflwr yr ymddangosai Mair i fod ynddo, esmwythawyd ei feddwl gan weledigaeth o'r nefoedd. "Ac efe yn meddwl y pethau hyn, wele, angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo mewn breuddwyd, gan ddywedyd, Joseph, mab Dafydd, nac ofna gymeryd Mair dy wraig: oblegyd yr hyn a genedlwyd ynddi sydd o'r Yspryd Glân. A hi a esgor ar fab, a thi a elwi ei enw ef IESU: oblegyd efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau."—MATT. i.

---

## Y SEREN YN Y DWYRAIN.

"Ac wedi geni yr Iesu yn Bethlehem Judea, yn nyddiau Herod frenin, wele, doethion a ddaethant o'r dwyrain i Jerusalem, gan ddywedyd, Pa le y mae yr hwn a anwyd yn Frenin yr Iuddewon? canys gwelsom ei seren ef yn y dwyrain, a daethom i'w addoli ef." Cenedloedd oedd y doethion hyn, a rhaid eu bod wedi derbyn rhyw rybudd



YR ANGEL YN YMDDANGOS I JOSEPH.



Y SEREN YN Y DWYRAIN.



Y DOETHION YN ADDOLI.

dwyfol fod rhywun mawr wedi ei eni; arweiniwyd hwy hefyd yn wyrthiol i le ei enedigaeth gan seren ddysglaer, neu oruchionen, a aethai o'u blaen hwynt, a safodd uwchben y lle yr oedd y mab bychan.—MATT. ii.

---

## Y DOETHION YN ADDOLI.

RHAID i'r doethion, neu y philosophyddion cenedlig hyn, yn ddiau, synu, wrth weled y goleuad nefol oedd wedi eu harwain hwy o bell, yn sefyll yn awr, wrth ddrws adeilad mor wael ag ystabl, neu dŷ anifeiliaid; ac wrth weled fod gwrthddrych eu taith bell, a'u haddoliad penderfynol, yn gorwedd mewn preseb, ac wedi ei rwymo mewn cadachau. Efallai y dysgwylient gael tywysog, ag yr oedd seren hynod yn y nefoedd yn cyhoeddi ei enedigaeth, wedi ei eni yn nheulu Herod, neu, beth bynag, mewn rhyw deulu uchel yn mysg yr Iuddewon. Ond ni ddarbwyllwyd hwy, er hyny, gan yr amgylchiadau, i omedd yr addoliad priodol i'r Iachawdwr yn y baban. Yr oedd yn arferiad yn y Dwyrain i ymwelwyr â phersonau uchel ddwyn anrhegion yn eu dwylaw. Gwelwn hyn oddiwrth 43ain o Genesis, y 72ain o'r Salmau, ac amryw ranau o'r Hen Destament. "A phan ddaethant i'r tŷ, hwy a welsant y mab bychan gyda Mair ei fam, a hwy a syrthiasant i lawr, ac a'i haddolasant ef: ac wedi agoryd eu trysorau, a offrymasant iddo anrhegion; aur, a thus, a myrr."—MATT. ii.

## GORCHYMYN I JOSEPH FYNED I'R AIPHT.

PARODD genedigaeth y baban enwog hwn dan amgylchiadau mor rhyfedd, y warogaeth a delid iddo, ac anrhegion y doethion o'r Dwyrain, i feddwl Herod, brenin Rhufeinaidd Judea, gael ei lenwi â thrallod ac ofn. Ymgynghorodd yn mlaenaf â'r awdurdodau Iuddewig yn nghylch y lle yr oedd Crist i gael ei eni, a chafodd mai yn Bethlehem. Yna holodd y doethion am yr amser yr ymddangosasai y seren, a dymunodd arnynt hysbysu iddo ef, os caent ef, gan ychwanegu yn ffals, "fel y gallwyf finau ddyfod a'i addoli ef." Ond, wedi eu rhybuddio gan Dduw mewn breuddwyd, ni ddychwelasant at Herod, a llidiodd y brenin gymaint, fel nad oedd y baban yn ddiberygl; felly, ymddangosodd angel yr Arglwydd i Joseph mewn breuddwyd, gan ddywedyd,—"Cyfod, cymer y mab bychan a'i fam, a ffo i'r Aipht, a bydd yno hyd oni ddywedwyf i ti; canys ceisio a wna Herod y mab bychan i'w ddyfetha ef."—MATT. ii.

---

## CILIO I'R AIPHT.

FEL yr ymddangosodd yr angel i Joseph mewn breuddwyd, neu weledigaeth nos, ymddengys iddo gyfodi o'i wely i ufuddhau i'r gorchymyn dwyfol; oblegyd cymerodd y baban a'i fam, o hyd nos, a chyda phob brys oedd yn bosibl, ciliodd i'r Aipht, gerllaw i gyffiniau yr hon y gorweddai Bethlehem. Arosasant yno hyd farwolaeth Herod, yr hyn a gymerodd le yn mhen rhai misoedd wedi hyny; fel y cyflawnid, megys o newydd, yr hyn a lefarodd yr Arglwydd trwy y prophwyd Hosea ar achlysur arall, ac fel y byddai cyfeiriad amlwg at yr ymadrodd hwnw yn y pennodiad hwn ar le preswyliad Crist. Darllenwn yn yr 11eg bennod o Hosea,—"Pan oedd Israel yn fachgen, mi


GORCHYMYN I JOSEPH FYNED I'R AIPHT.


CILIO I'R AIPHT.


LLADD Y PLANT.

a'i cerais ef, ac a elwais fy mab o'r Aipht;" ond yr oedd Crist yn FAB DUW mewn ystyr uwch a rhagorach nag Israel, at y rhai yr oedd cyfeiriad cyntaf y geiriau.—MATT. ii.

---

## LLADD Y PLANT.

"YNA Herod, pan weles ei siomi gan y doethion, a ffromodd yn aruthr, ac a ddanfonodd ac a laddodd yr holl fechgyn oedd yn Bethlehem, ac yn ei holl gyffiniau, o ddwyflwydd oed a than hyny, wrth yr amser yr ymofynasai efe yn fanwl â'r doethion. Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddywedasid gan Jeremias y prophwyd, gan ddywedyd, Llef a glybuwyd yn Rama, galar, ac wylofain, ac ochain mawr, Rachel, yn wylo am ei phlant; ac ni fynai ei chysuro, am nad oeddynt. Ond wedi marw Herod, wele angel yr Arglwydd mewn breuddwyd yn ymddangos i Joseph yn yr Aipht, gan ddywedyd, Cyfod, a chymer y mab bychan a'i fam, a dos i dir Israel: canys y rhai oedd yn ceisio einioes y mab bychan a fuant feirw." Iawn y dylai y llofruddiad hwn ar blant diniwaid Bethlehem, yr hwn sydd wedi bod yn destyn llawer pin, pwyntyl, a thafod, gyffroi ein syndod a'n gofid wrth yr ysgelerderau y mae ein natur syrthiedig yn agored i'w cyflawni. Pa amgylchiadau o awdurdod a gwychder bydol, ellid roddi i gydbwyso â baich euogrwydd yr alanas hon, a danodiad aruthrol cydwybod, fel ag i gymhell i gyflawni creulondeb ag y buasai meddwl a chalon yr anwaraidd yn dychrynu rhagddo! Diolchwn oll am nad ydym dan awdurdod ormesol y fath orthrymwr.—MATT. ii.

## IOAN YN BEDYDDIO YR IESU.

" Ac yn y dyddiau hyny y daeth Ioan Fedyddiwr, gan bregethu yn niffaethwch Judea, a dywedyd, Edifarhewch: canys nesaodd teyrnas nefoedd. Oblegyd hwn yw efe yr hwn y dywedwyd am dano gan Esaias y prophwyd, gan ddywedyd, Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Parotowch ffordd yr Arglwydd; gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef. Yna yr aeth allan ato ef Jerusalem, a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen: a hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau. Yna y daeth yr Iesu o Galilea i'r Iorddonen at Ioan, i'w fedyddio ganddo. Eithr Ioan a warafunodd iddo ef, gan ddywedyd, Y mae arnaf fi eisiau fy medyddio genyt ti, ac a ddeui di ataf fi? Ond yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho ef, Gad yr awr hon; canys fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder. Yna efe a adawodd iddo. A'r Iesu, wedi ei fedyddio, a aeth yn y fan i fyny o'r dwfr: ac wele, y nefoedd a agorwyd iddo, ac efe a welodd Yspryd Duw yn disgyn fel colomen, ac yn dyfod arno ef. Ac wele, lef o'r nefoedd, yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd."—MATT. iii.

---

## TEMTIO CRIST GAN DDIAFOL.

" YNA yr Iesu a arweiniwyd i fyny i'r anialwch gan yr yspryd, i'w demtio gan ddiafol. Ac wedi iddo ymprydio ddeugain niwrnod a deugain nos, ar ol hyny efe a newynodd. A'r temtiwr pan ddaeth ato, a ddywedodd, Os mab Duw wyt ti, arch i'r ceryg hyn fod yn fara. Ac yntau a atebodd ac a ddywedodd, Ysgrifenwyd, Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw. Yna y cymerth diafol ef i'r ddinas santaidd, ac a'i gosododd ef ar binacl y deml; ac a ddywedodd wrtho, Os mab Duw wyt ti, bwrw dy hun i lawr; canys ysgrifenwyd, Y rhydd efe orchymyn i'w angelion am



IOAN YN BEDYDDIO YR IESU.



TEMTIO CRIST GAN DDIAFOL.



CRIST YN GALW SIMON, ANDREAS, AC ERAILL.

danat . a hwy a'th ddygant yn eu dwylaw, rhag taro o honot un amser dy droed wrth gareg. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ysgrifenwyd drachefn, Na themtia yr Arglwydd dy Dduw. Trachefn y cymerth diafol ef i fynydd tra uchel, ac a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y byd, a'u gogoniant ; ac a ddywedodd wrtho, Hyn oll a roddaf i ti, os syrthi i lawr a'm haddoli i. Yna yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ymaith, Satan ; canys ysgrifenwyd, Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi. Yna y gadawodd diafol ef ; ac wele, angelion a ddaethant ac a weiniasant iddo."—MATT. iv.

---

## CRIST YN GALW SIMON, ANDREAS, AC ERAILL.

YN awr dechreuodd ein Harglwydd ar ei weinidogaeth gyhoeddus yn mysg pobl yr Iuddewon. Dywedir mewn man arall fod yr Iesu yn nghylch dechreu ei ddengmlwydd-ar-hugain. "O'r pryd hwnw y dechreuodd yr Iesu bregethu, a dywedyd, Edifarhewch : canys nesäodd teyrnas nefoedd. A'r Iesu yn rhodio wrth fôr Galilea, efe a ganfu ddau frodyr, Simon, yr hwn a elwir Pedr, ac Andreas ei frawd, yn bwrw rhwyd i'r môr (canys pysgodwyr oeddynt), ac efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch ar fy ol i, a mi a'ch gwnaf yn bysgodwyr dynion. A hwy yn y fan, gan adael y rhwydau, a'i canlynasant ef. Ac wedi myned rhagddo oddi yno, efe a welodd ddau frodyr eraill, Iago fab Zebedeus, ac Ioan ei frawd, mewn llong gyda Zebedeus eu tad, yn cyweirio eu rhwydau : ac a'u galwodd hwy. Hwythau yn ebrwydd, gan adael y llong a'u tad, a'i canlynasant ef. A'r Iesu a aeth o amgylch holl Galilea, gan ddysgu yn eu synagogau, a phregethu efengyl y deyrnas, a iachau pob clefyd a phob afiechyd yn mhlith y bobl."—MATT. iv.

## Y TY AR Y GRAIG A'R TY AR Y TYWOD.

Yr oedd ein Harglwydd bob amser yn egluro ei athrawiaeth a'i addysgiadau trwy ddamhegion, a chyffelybiaethau, wedi eu cymeryd oddiwrth amgylchiadau a dygwyddiadau agos. Wedi traethu amryw bethau, rhai pethau newyddion ac anhawdd i'r natur ddynol, dengys pa mor ddiwerth, mor beryglus, a dinystriol oedd gwrando heb wneuthur, trwy y ddameg ganlynol :—"Gan hyny pwy bynag sydd yn gwrando fy ngeiriau hyn, ac yn eu gwneuthur, mi a'i cyffelybaf i ŵr doeth, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y graig : a'r gwlaw a ddisgynodd, a'r llifeiriant a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a ruthrasant ar y tŷ hwnw ; ac ni syrthiodd : oblegyd sylfaenesid ef ar y graig. A phob un a'r sydd yn gwrando fy ngeiriau hyn, ac heb eu gwneuthur, a gyffelybir i ŵr ffol, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y tywod : a'r gwlaw a ddisgynodd, a'r llif-ddyfroedd a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwythasant, ac a gurasant ar y tŷ hwnw, ac efe a syrthiodd ; a'i gwymp a fu fawr. A bu wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn, y torfeydd a synasant wrth ei ddysgeidiaeth ef. Canys yr oedd efe yn eu dysgu hwynt fel un ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion."—Matt. vii.

---

## Y CANWRIAD O CAPERNAUM.

Nid yn unig eglurai ein Harglwydd ei athrawiaeth â damhegion, ond profai ei awdurdod ddwyfol fel dysgawdwr â gwyrthiau. "Ac wedi dyfod yr Iesu i mewn i Capernaum, daeth ato ganwriad, gan ddeisyfu arno, a dywedyd, Arglwydd, y mae fy ngwas yn gorwedd gartref yn glaf o'r parlys, ac mewn poen ddirfawr. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Mi a ddeuaf ac a'i hiachâf ef. A'r canwriad a atebodd ac a ddywedodd, Arglwydd, nid ydwyf fi deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd : eithr yn unig



Y TY AR Y GRAIG A'R TY AR Y TYWOD.



Y CANWRIAD O CAPERNAUM.



TAWELU YR YSTORM.

dywed y gair, a'm gwas a iacheir. Canys dyn ydwyf finau dan awdurdod, a chenyf filwyr danaf: a dywedaf wrth hwn, Cerdda, ac efe a â; ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw; ac wrth fy ngwas, Gwna hyn, ac efe a'i gwna. A'r Iesu pan glybu, a ryfeddodd, ac a ddywedodd wrth y rhai oedd yn canlyn, Yn wir meddaf i chwi, Ni chefais gymaint ffydd, na ddo yn yr Israel. A dywedodd yr Iesu wrth y canwriad, Dos ymaith; ac megys y credaist, bydded i ti. A'i was a iachawyd yn yr awr hòno."—MATT. viii.

---

## TAWELU YR YSTORM

ER yr holl wyrthiau rhyfeddol a wnelai yr Iesu o hyd yn ngwydd ei ddysgyblion, ymddengys fod eu ffydd ynddo yn hynod o amheus a gwanaidd, hyd amser ei farwolaeth. Yr oedd, yn ddiau, lawer o'r nodwedd cenedlaethol yn hyn. Yr oedd y meddwl Iuddewig yn naturiol yn fwy cyndyn a gwrthnysig mewn pwnc o grediniaeth na'r meddwl cenedlig yn gyffredin. Cafodd ein Harglwydd achlysur, fwy nag unwaith, i geryddu annghrediniaeth hyd y nod ei ddysgyblion ei hun, ac i ganmol ffydd y Cenedloedd, fel yn achos y canwriad a nodwyd uchod. "Ac wedi iddo fyned i'r llong, ei ddysgyblion a'i canlynasant ef. Ac wele, bu cynwrf mawr yn y môr, hyd oni chuddiwyd y llong gan y tònau: eithr efe oedd yn cysgu. A'i ddysgyblion a ddaethant ato, ac a'i deffröasant, gan ddywedyd, Arglwydd, cadw ni: darfu am danom. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Paham yr ydych yn ofnus, O chwi o ychydig ffydd? Yna y cododd efe, ac y ceryddodd y gwyntoedd a'r môr; a bu dawelwch mawr. A'r dynion a ryfeddasant, gan ddywedyd, Pa ryw un yw hwn, gan fod y gwyntoedd hefyd a'r môr yn ufuddhau iddo?"—MATT. viii.

## CRIST YN IACHAU Y PARLYS.

NID gwendid petrusgar ei ddysgyblion yn unig oedd gan y Gwaredwr i'w wynebu yn ngweithredoedd ei allu a'i drugaredd, ond malais agored gelynion annghrediniol, eiddigus, a digllawn, yn mysg dosbarth uchaf cymdeithas Iuddewig. "Ac wele, hwy a ddygasant ato ŵr claf o'r parlys, yn gorwedd mewn gwely: a'r Iesu yn gweled eu ffydd hwy, a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab, cymer gysur; maddeuwyd i ti dy bechodau. Ac wele, rhai o'r ysgrifenyddion a ddywedasant ynddynt eu hunain, Y mae hwn yn cablu. A phan welodd yr Iesu eu meddyliau, efe a ddywedodd, Paham y meddyliwch ddrwg yn eich calonau? Canys pa un hawsaf ai dywedyd, Maddeuwyd i ti dy bechodau; ai dywedyd, Cyfod, a rhodia? Eithr fel y gwypoch fod awdurdod gan Fab y dyn ar y ddaiar i faddeu pechodau, (yna y dywedodd efe wrth y claf o'r parlys) Cyfod, cymer dy wely i fyny a dos i'th dŷ. Ac efe a gyfododd, ac a aeth ymaith i'w dŷ ei hun. A'r torfeydd pan welsant, rhyfeddu a wnaethant, a gogoneddu Duw, yr hwn a roisai gyfryw awdurdod i ddynion."—MATT. ix.

---

## CRIST YN BWYTA GYDA PHECHADURIAID.

CYFFRODD ymddygiad arall o eiddo ein Harglwydd anfoddlonrwydd ac achwyniadau yr Iuddewon yn ei erbyn. Ni cheisiai ef gymdeithas y cyfoethog, yr uchel, a'r hunangyfiawn yn eu mysg, ond cymdeithasai â'r publicanod a'r pechaduriaid, y rhai oeddent wehilion cymdeithas. Gwyddai y buasai ei addysg yn fwy cymeradwy ac effeithiol i'r cyfryw, nag i'r Phariseaid balch ac ymffrostgar, y rhai a dybient nad oedd angen arnynt am ddysgawdwr, neu feddyg ysbrydol. "Ac fel yr oedd yr Iesu yn myned



CRIST YN IACHAU Y PARLYS.



CRIST YN BWYTA GYDA PHECHADURIAID.



CRIST YN IACHAU Y WRAIG.

oddi yno, efe a ganfu ŵr yn eistedd wrth y dollfa, a elwid Matthew, ac a ddywedodd wrtho, Canlyn fi. Ac efe a gyfododd, ac a'i canlynodd ef. A bu, ac efe yn eistedd i fwyta yn y tŷ, wele hefyd, publicanod lawer a phechaduriaid a ddaethant, ac a eisteddasant gyda'r Iesu a'i ddysgyblion. A phan welodd y Phariseaid, hwy a ddywedasant wrth ei ddysgyblion ef, Paham y bwyty eich Athraw chwi gyda'r publicanod a'r pechaduriaid? A phan glybu yr Iesu, efe a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion. Ond ewch, a dysgwch pa beth yw hyn, Trugaredd yr ydwyf yn ei ewyllysio, ac nid aberth: canys ni ddaethum i alw rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch."—Matt. ix.

---

## CRIST YN IACHAU Y WRAIG.

Ond yr oedd rhai yn amheus, bron yn annghrediniol, er bod dan weinidogaeth ein Harglwydd, a gweled ei wyrthiau. Yr oedd eraill wedi eu darostwng a'u dysgyblu gan gystuddiau, a'u gobeithion yn cael eu goleuo, a'u ffydd ei chryfhau trwy oruchwyliaethau yr Arglwydd tuag atynt ac o'u cwmpas. "Ac wele, gwraig y buasai gwaedlif arni ddeuddeng mlynedd, a ddaeth o'r tu cefn iddo, ac a gyffyrddodd âg ymyl ei wisg ef. Canys hi a ddywedasai ynddi ei hun, Os caf yn unig gyffwrdd â'i wisg ef, iach fyddaf. Yna yr Iesu a drodd; a phan ei gwelodd hi, efe a ddywedodd, Ha ferch, bydd gysurus; dy ffydd a'th iachaodd. A'r wraig a iachawyd o'r awr hòno." Felly, yn lle gwrth-ddadleuon a chwestiynau, casineb ac annghrediniaeth, y llywodraethwyr Iuddewig, yr hyn a'u cadwai rhag derbyn unrhyw leshad oddiwrth weinidogaeth a gwyrthiau ein Harglwydd, credodd y wraig dylawd hon ar unwaith, a derbyniodd yn ol ei ffydd."—Matt. ix

## CRIST YN BWRW CYTHRAUL ALLAN.

Gan fod y gwyntoedd a'r môr yn ufuddhau i air Mab Duw, gallesid dysgwyl ei fod yn Arglwydd ar bob peth, a bod y cythreuliaid hefyd yn ddarostyngedig iddo. Dyn yn unig wrthsafai ei awdurdod. Ei bobl ei hun a'i diystyrent ac a'i gwatwarent ef, ac yn eu herbyn eu hunain a wrthodent drugaredd Duw, "ac nis derbyniasant ef." Torodd cynddaredd y Phariseaid allan, yn yr achos hwn, mewn cabledd dychrynllyd yn erbyn Mab Duw, ac yn erbyn y gallu a pha un y gwnai wyrthiau. "Ac a hwy yn myned allan, wele, rhai a ddygasant ato ddyn mud, cythreulig. Ac wedi bwrw y cythraul allan, llefarodd y mudan: a'r torfeydd a ryfeddasant, gan ddywedyd, Ni welwyd y cyffelyb erioed yn Israel. Ond y Phariseaid a ddywedasant, Trwy benaeth y cythreuliaid y mae efe yn bwrw allan gythreuliaid." Gwyddom pa fodd, mewn man arall, y ceryddwyd y gwrthnysigrwydd drygionus hwn o eiddo yr Iuddewon, a'r ddedfryd ddychrynllyd dynodd allan yn erbyn y rhai a wadent neu a gablent fel hyn yn erbyn yr Ysbryd Glân.—Matt. ix.

---

## CRIST YN IACHAU Y LLAW OEDD WEDI GWYWO.

Mae genym yn awr gyfres hir o wyrthiau ein Harglwydd wedi eu cofnodi, oll yn weithredoedd o drugaredd; ni chafodd ef erioed o'r gair ei fod yn weinidog llid a digofaint, ond ei fod yn myned oddiamgylch gan wneuthur daioni. Byddai ef ei hun yn fynych yn goddef eisiau bwyd a chartref; ac o'r diwedd rhoddodd ei fywyd i fyny ar y groes, heb wneyd un wyrth er ei fwyn ei hun, na galw ar y llengoedd angelion oedd at ei wasanaeth. Cawn yma hanes gwyrth a wnaeth yr Iesu ar y dydd Sabbath. Yr oedd yr Iuddewon, y rhai a edrychent ar ei weithredoedd bob amser gyda llygad drwg, yn falch i gael



CRIST YN BWRW CYTHRAUL ALLAN.



CRIST YN IACHAU Y LLAW OEDD WEDI GWYWO.



IACHAU Y DALL A'R MUD.

y cyfleusdra, ar ol beio y dysgyblion am dynu y tywys ar y dydd hwnw, i geryddu eu Harglwydd ei hun am arfer ei allu ar y Sabbath. "Ac wele, yr oedd dyn a chanddo law wedi gwywo. A hwy a ofynasant iddo, gan ddywedyd, Ai rhydd iachau ar y Sabbathau? fel y gallent achwyn arno. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddyn o honoch fydd a chanddo un ddafad, ac o syrth hòno mewn pwll ar y dydd Sabbath, nid ymeifl ynddi, a'i chodi allan? Pa faint gwell gan hyny ydyw dyn na dafad? Felly rhydd yw gwneuthur yn dda ar y Sabbathau. Yna y dywedodd efe wrth y dyn, Estyn dy law. Ac efe a'i hestynodd; a hi a wnaed yn iach, fel y llall. Yna yr aeth y Phariseaid allan, ac a ymgynghorasant yn ei erbyn ef, pa fodd y difethent ef."—MATT. xii.

---

## IACHAU Y DALL A'R MUD.

CAWN yma enghraifft eto o wrthnysigrwydd gwatwarus y Phariseaid tuag at wyrth garedig o eiddo ein Harglwydd, a'r cyhuddiad mwyaf dychrynllyd efallai a geir yn yr holl Feibl yn cael ei ddwyn yn ei erbyn. "Yna y dygpwyd ato un cythreulig, dall a mud: ac efe a'i hiachaodd ef, fel y llefarodd ac y gwelodd y dall a mud. A'r holl dorfeydd a synasant, ac a ddywedasant, Ai hwn yw mab Dafydd? Eithr pan glybu y Phariseaid, hwy a ddywedasant, Nid yw hwn yn bwrw allan gythreuliaid, ond trwy Beelzebub penaeth y cythreuliaid. A'r Iesu yn gwybod eu meddyliau, a ddywedodd wrthynt, Pob teyrnas wedi ymranu yn ei herbyn ei hun, a annghyfaneddir; a phob dinas neu dŷ wedi ymranu yn ei erbyn ei hun, ni saif. Am hyny y dywedaf wrthych chwi, Pob pechod a chabledd a faddeuir i ddynion: ond pwy bynag a ddywedo yn erbyn yr Ysbryd Glân, nis maddeuir iddo, nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw."—MATT. xii.

## TORI PEN IOAN FEDYDDIWR.

"Y PRYD hwnw y clybu Herod y tetrarch son am yr Iesu; ac efe a ddywedodd wrth ei weision, Hwn yw Ioan Fedyddiwr: efe a gyfododd o feirw, ac am hyny y mae nerthoedd yn gweithio ynddo ef. Canys Herod a ddaliasai Ioan, ac a'i rhwymasai, ac a'i dodasai yn ngharchar, oblegyd Herodias, gwraig Phylip ei frawd ef. Canys Ioan a ddywedodd wrtho, Nid cyfreithlawn i ti ei chael hi. Ac efe yn ewyllysio ei roddi ef i farwolaeth, a ofnodd y dyrfa, canys hwy a'i cymerent ef megys prophwyd. Eithr pan gadwyd dydd genedigaeth Herod, y dawnsiodd merch Herodias ger eu bron hwy, ac a ryngodd fodd Herod. O ba herwydd efe a addawodd, trwy lŵ, roddi iddi beth bynag a ofynai. A hithau, wedi ei rhag-ddysgu gan ei mam, a ddywedodd, Dyro i mi yma ben Ioan Fedyddiwr mewn dysgl. A'r brenin a fu drist ganddo: eithr o herwydd y llŵ, a'r rhai a eisteddent gydag ef wrth y ford, efe a orchymynodd ei roi ef iddi. Ac efe a anfonodd ac a dorodd ben Ioan yn y carchar. A dygpwyd ei ben ef mewn dysgl, ac a'i rhoddwyd i'r llances: a hi a'i dug ef i'w mam."—MATT. xiv.

---

## CRIST YN PORTHI PUM' MIL.

YMA cawn esiampl o garedigrwydd dwyfol yr Iachawdwr, yn gystal ag o'i Hollalluogrwydd. Yn lle ceisio y troseddwr brenincl, fel y gallasai wneyd, i gael dial marwolaeth y prophwyd trwy ddinystrio ei ddinystriwr, ymneillduodd i le anial, i gael hamdden y mae'n debyg, i fyfyrdod a gweddi. Beth bynag, dylynodd y bobl ef ar draed, tosturiodd yntau wrthynt, a iachaodd eu cleifion. "Ac wedi ei myned hi yn hwyr, daeth ei ddysgyblion ato, gan ddywedyd, Y lle sydd annghyfanedd, a'r awr a aeth weithian heibio: gollwng y dyrfa ymaith, fel yr elont i'r pentrefi, ac y prynont iddynt fwyd. A'r Iesu a ddywed-



TORI PEN IOAN FEDYDDIWR.



CRIST YN PORTHI PUM' MIL.



GWEDDNEWIDIAD CRIST.

odd wrthynt, Nid rhaid iddynt fyned ymaith : rhoddwch chwi iddynt beth i'w fwyta. A hwy a ddywedasant wrtho, Nid oes genym ni yma ond pum' torth, a dau bysgodyn. Ac efe a ddywedodd, Dygwch hwynt yma i mi. Ac wedi gorchymyn i'r torfeydd eistedd ar y gwelltglas, a chymeryd y pum' torth, a'r ddau bysgodyn, efe a edrychodd i fyny tua'r nef, ac a fendithiodd, ac a dorodd ; ac a roddes y torthau i'r dysgyblion, a'r dysgyblion i'r torfeydd. A hwy oll a fwytasant, ac a gawsant eu digon : ac a godasant o'r briw-fwyd oedd yn ngweddill, ddeuddeg basgedaid yn llawn. A'r rhai a fwytasant oedd yn nghylch pum' mil o wŷr, heblaw gwragedd a phlant."—Matt. xiv.

---

## GWEDDNEWIDIAD CRIST.

Cyhoeddiad eglur a gweledig y Nefoedd oedd hwn, yn cadarnhau dwyfoldeb, cymeriad, a swydd Iesu Grist. "Ac ar ol chwe' diwrnod, y cymerodd yr Iesu Pedr, ac Iago, ac Ioan ei frawd, ac a'u dug hwy i fynydd uchel o'r neilldu. A gweddnewidiwyd ef ger eu bron hwy : a'i wyneb a ddysgleiriodd fel yr haul, a'i ddillad oedd cyn wyned a'r goleuni. Ac wele, Moses ac Elias a ymddangosodd iddynt, yn ymddyddan âg ef. A Phedr a atebodd ac a ddywedodd wrth yr Iesu, O Arglwydd, da yw i ni fod yma : os ewyllysi, gwnawn yma dair pabell ; un i ti, ac un i Moses, ac un i Elias. Ac efe eto yn llefaru, wele, cwmwl goleu a'u cysgododd hwynt : ac wele, lef o'r cwmwl, yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd : gwrandewch arno ef. A phan glybu y dysgyblion hyny, hwy a syrthiasant ar eu hwyneb, ac a ofnasant yn ddirfawr. A daeth yr Iesu, ac a gyffyrddodd â hwynt, ac a ddywedodd, Cyfodwch, ac nac ofnwch. Ac wedi iddynt ddyrchafu eu llygaid, ni welsant neb ond yr Iesu yn unig."—Matt xvii.

## CRIST YN IACHAU Y LLOERIG.

NID cynt yr oedd y gweddnewidiad drosodd nag yr oedd ein Harglwydd eto yn ngafael â gweithredoedd ei drugaredd. "A daeth ato ryw ddyn, ac a ostyngodd iddo ar ei liniau, ac a ddywedodd, Arglwydd, trugarha wrth fy mab, oblegyd y mae efe yn lloerig, ac yn flin arno: canys y mae efe yn syrthio yn y tân yn fynych, ac yn y dwfr yn fynych. Ac mi a'i dygais ef at dy ddysgyblion di, ac ni allent hwy ei iachau ef. A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd, O genedlaeth anffyddlawn a throfaus, pa hyd y byddaf gyda chwi? pa hyd y dyoddefaf chwi? dygwch ef yma ataf fi. A'r Iesu a geryddodd y cythraul; ac efe a aeth allan o hono: a'r bachgen a iachawyd o'r awr hòno. Yna y daeth y dysgyblion at yr Iesu o'r neilldu, ac y dywedasant, Paham nad allem ni ei fwrw ef allan? A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oblegyd eich annghrediniaeth: pe bai genych ffydd megys gronyn o had mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, Symud oddi yma draw, ac efe a symudai; ac ni bydd dim anmhosibl i chwi."—MATT. xvii.

---

## Y GWAS ANNHRUGAROG.

MAE yr athrawiaeth bwysig hòno, nad oes neb i ddysgwyl maddeuant gan Dduw, ond y rhai a arferant faddeu i'w cyd-ddynion, yn cael ei gwasgu yn fynych at feddyliau dynion gan ein Harglwydd. Y neb sydd yn meddwl yr achub ei ffydd ef yn annybynol ar yr amod angenrheidiol hwn, darllened Weddi yr Arglwydd, a'r esboniad arni gan Grist ei hun; ac hefyd y ddameg hon am y gwas anfaddeugar. Y mae i'w ofni fod llawer yn marw gyda phroffes efengylaidd ar eu tafodau, ac anfaddeugarwch paganaidd yn eu calonau, ac felly yn myned i'r farn yn wir, dan dwyll dinystriol. "Am hyny y cyffelybir teyrnas nefoedd i ryw frenin a fynai gael cyfrif gan

ei weision. A phan ddechreuodd gyfrif, fe a ddygwyd ato un a oedd yn ei ddyled ef o ddeng mil o dalentau. A'r gwas a syrthiodd i lawr, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, bydd ymarhous wrthyf, a mi a dalaf i ti y cwbl oll. Ac arglwydd y gwas hwnw a dosturiodd wrtho, ac a'i gollyngodd, ac a faddeuodd iddo y ddyled. Ac wedi myned o'r gwas hwnw allan, efe a gafodd un o'i gyd-weision yr hwn oedd yn ei ddyled ef o gan' ceiniog: ac efe a ymaflodd ynddo, ac a'i llindagodd, gan ddywedyd, Tal i mi yr hyn sydd ddyledus arnat. Yna y syrthiodd ei gyd-was wrth ei draed ef, ac a ymbiliodd âg ef, gan ddywedyd, Bydd ymarhous wrthyf, a mi a dalaf i ti y cwbl oll. Ac nis gwnai efe: ond myned a'i fwrw ef yn ngharchar, hyd oni thalai yr hyn oedd ddyledus. A phan welodd ei gyd-weision y pethau a wnelsid, bu ddrwg dros ben ganddynt: a hwy a ddaethant ac a fynegasant i'w harglwydd yr holl bethau a fuasai. Yna ei arglwydd, wedi ei alw ef ato, a ddywedodd wrtho, Ha was drwg, maddeuais i ti yr holl ddyled hòno, am i ti ymbil â mi: ac oni ddylesit tithau drugarhau wrth dy gyd-was, megys y trugarheais inau wrthyt ti? A'i arglwydd a ddigiodd, ac a'i rhoddodd ef i'r poenwyr, hyd oni thalai yr hyn oll oedd ddyledus iddo. Ac felly y gwna fy Nhad nefol i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonau bob un i'w frawd eu camweddau."—MATT. viii.

---

## CRIST YN BWRW Y PRYNWYR A'R GWERTHWYR O'R DEML.

"A'R Iesu a aeth i mewn i deml Dduw, ac a daflodd allan bawb a'r oedd yn gwerthu ac yn prynu yn y deml, ac a ddymchwelodd i lawr fyrddau y newidwyr arian, a chadeiriau y rhai oedd yn gwerthu colomenod: ac efe a ddywedodd wrthynt, Ysgrifenwyd, Tŷ gweddi y gelwir fy nhŷ i; eithr chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron."—MATT. xxi.

## Y WISG BRIODAS.

Mae y ffaith fod dynion wrth wneyd gwleddoedd—yn enwedig rhai mewn cysylltiad a phriodasau—yn darparu gwisgoedd i'r gwahoddedigion, yn cael ei chadarnhau gan amryw awduron hynafol. Rhaid i ni dybied fod y dyn yn y ddameg wedi cael cynyg ar un, ond wedi ei gwrthod. "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ryw frenin a wnaeth briodas i'w fab. Ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas: ac ni fynent hwy ddyfod." Anfonwyd y gwahoddiad eilwaith gyda'r erfyniadau caredicaf, ond yr oeddent hwy yn ddiystyr, ac ymddygasant yn angharedig a chywilyddus tuag at y cenadau. Anfonodd y brenin i gosbi y rhai anniolchgar, a chyhoeddodd y gwahoddiad i ddyeithriaid, ac hyd y nod i'r graddau iselaf; felly y llanwyd y briodas a gwahoddedigion. "A phan ddaeth y brenin i mewn i weled y gwahoddedigion, efe a ganfu yno ddyn heb wisg briodas am dano: ac efe a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, pa fodd y daethost i mewn yma, heb fod genyt wisg briodas? Ac yntau a aeth yn fud. Yna y dywedodd y brenin wrth y gweinidogion, Rhymwch ei draed a'i ddwylaw, a chymerwch ef ymaith, a theflwch i'r tywyllwch eithaf: yno y bydd wylofain a rhincian danedd." Cofiwn fod yn rhaid i ni er cael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni, gael ein gwneyd yn *gymhwys* iddi trwy santeiddrwydd ein calon a'n buchedd. Dyma y wisg briodas weithir gan Yspryd Duw ei hun, ac a gynygir i ni yn rhad trwy ei ras ef.—Matt. xxii.

---

## ARIAN Y DEYRNGED.

Yr oedd llawer o gyfrwysdra a malais yn y cwestiwn hwn ofynodd y Phariseaid i Grist. Awyddent am i gyfiawnder diofn y Gwaredwr ei ddwyn i berygl oddiwrth y llywodraeth Rufeinig, odditan yr hon yr oedd yr Iuddewon yn awr wedi eu gosod. Ac mewn trefn i sicrhau yr atebiad a



Y WISG BRIODAS.



ARIAN Y DEYRNGED.



Y DENG MORWYN.

ddymunent, rhagflaenasant eu gofyniad gyda chydnabyddiaeth anrhydeddus. "Athraw, ni a wyddom dy fod yn eirwir, ac yn dysgu ffordd Duw mewn gwirionedd, ac nad oes arnat ofal rhag neb: oblegyd nid wyt ti yn edrych ar wyneb dynion. Dywed i ni gan hyny, Beth yr wyt ti yn ei dybied? Ai cyfreithlawn rhoddi teyrnged i Cesar, ai nid yw? Ond yr Iesu a wybu eu drygioni hwy, ac a ddywedodd, Paham yr ydych yn fy nhemtio i, chwi ragrithwyr? Dangoswch i mi arian y deyrnged. A hwy a ddygasant ato geiniog. Ac efe a ddywedodd wrthynt, eiddo pwy yw y ddelw hon a'r argraph? Dywedasant wrtho, Eiddo Cesar. Yna y dywedodd wrthynt, Telwch chwithau yr eiddo Cesar i Cesar, a'r eiddo Duw i Dduw." —MATT. xxii.

---

## Y DENG MORWYN.

"YNA tebyg fydd teyrnas nefoedd i ddeg o forwynion, y rhai a gymerasant ei lampau, ac a aethant allan i gyfarfod â'r priod-fab. A phump o honynt oedd gall, a phump yn ffol. Y rhai oedd ffol a gymerasant eu lampau, ac ni chymerasant olew gyda hwynt: a'r rhai call a gymerasant olew yn eu llestri gyda'u lampau. A thra yr oedd y priod-fab yn aros yn hir, yr hepiasant oll ac yr hunasant. Ac ar haner nos y bu gwaedd, Wele, y mae y priod-fab yn dyfod: ewch allan i gyfarfod âg ef. Yna y cyfododd yr holl forwynion hyny, ac a drwsiasant eu lampau. A'r rhai ffol a ddywedasant wrth y rhai call, Rhoddwch i ni o'ch olew chwi: canys y mae ein lampau ni yn diffoddi. A'r rhai call a atebasant, gan ddywedyd, Nid felly; rhag na byddo digon i ni ac i chwithau: ond ewch yn hytrach at y rhai sydd yn gwerthu, a phrynwch i chwi eich hunain. A thra yr oeddynt yn myned ymaith i brynu, daeth y priod-fab; a'r rhai oedd barod, a aethant i mewn gydag ef i'r briodas: a chauwyd y drws."—MATT. xxv.

## Y GWAS FFYDDLON A'R ANFFYDDLON.

"Canys y mae teyrnas nefoedd fel dyn yn myned i wlad ddyeithr, yr hwn a alwodd ei weision, ac a roddes ei dda atynt. Ac i un y rhoddodd efe bum' talent, ac i arall ddwy, ac i arall un, i bob un yn ol ei allu ei hun ; ac yn y fan efe a aeth oddi cartref. A'r hwn a dderbyniasai y pum' talent a aeth, ac a farchnataodd â hwynt, ac a wnaeth bum' talent eraill. A'r un modd yr hwn a dderbyniasai y ddwy, a enillodd yntau ddwy eraill. Ond yr hwn a dderbyniasai un, a aeth ac a gloddiodd yn y ddaiar, ac a guddiodd arian ei arglwydd. Ac wedi llawer o amser, y mae arglwydd y gweision hyny yn dyfod, ac yn cyfrif â hwynt. A daeth yr hwn a dderbyniodd bum' talent, ac a ddug bum' talent eraill, gan ddywedyd, Arglwydd, pum' talent a roddaist ataf: wele, mi a enillais bum' talent eraill atynt. A dywedodd ei arglwydd wrtho, Da, was da a ffyddlawn: buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer: dos i mewn i lawenydd dy arglwydd. A'r hwn a dderbyniasai ddwy dalent a ddaeth, ac a ddywedodd, Arglwydd, dwy dalent a roddaist ataf: wele, dwy eraill a enillais atynt. Ei arglwydd a ddywedodd wrtho, Da, was da a ffyddlawn: buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer: dos i mewn i lawenydd dy arglwydd. A'r hwn a dderbyniasai yr un dalent a ddaeth (gyda gwrthnysigrwydd diflas), ac a ddywedodd, Arglwydd, mi a'th adwaenwn di, mai gŵr caled ydwyt (gan ddysgwyl pethau anmhosibl). Ac mi a ofnais, ac a aethum, ac a guddiais dy dalent yn y ddaiar: wele yr ydwyt yn cael yr eiddot dy hun." Ar ol y cerydd priodol ar y gwas anniolchgar ac anfuddiol, cymerwyd y dalent oddiarno, a thaflwyd ef i'r tywyllwch eithaf, i gydddyoddef a'r hwn oedd heb wisg briodas ganddo—MATT XXV.



Y GWAS FFYDDLON A'R ANFFYDDLON.



DIDOLIAD Y DEFAID A'R GEIFR.



ARCHOFFEIRIAID YN CYDYMGYNGHORI I LADD CRIST.

## DIDOLIAD Y DEFAID A'R GEIFR.

Mae teyrnas nefoedd a dedfryd y dydd diweddaf, gyda chyflwr gwahanol gymeriadau, yn awr â'r pryd hwnw, yn cael eu dangos gan ein Harglwydd dan amrywiol agweddau a chydmariaethau. Dyma un esiampl ddifrifol :—" A Mab y dyn, pan ddel yn ei ogoniant, a'r holl angelion santaidd gydag ef, yna yr eistedd ar orsedd-fainc ei ogoniant. A chyd-gesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd : ac efe a'u didola hwynt oddiwrth eu gilydd, megys y didola'r bugail y defaid oddiwrth y geifr : ac a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy." Yna y canlyn y ddedfryd, a'r rheswm am dani. Bydded i'r rhai sydd yn troi clust byddar at drallod, ac yn ddiystyr o elusen, ddarllen yr Ysgrythyr hon a chrynu.—MATT. XXV.

---

## YR ARCHOFFEIRIAID YN CYDYMGYNGHORI I LADD CRIST.

YR oedd llid a malais y llywodraethwyr Iuddewig, yr hwn oedd eto heb dori allan mewn creulondeb agored at berson Crist, am fod y llywodraethwr Rhufeinig, a theimlad llawer o'r bobl ar y ffordd, yn barod ac yn awyddus i'w ysglyfaeth, pryd bynag y delai cyfleusdra. Felly, ar achlysur eu cyfarfyddiad, gwnaeth y llywodraethwyr hyn ddinystr yr Iesu yn brif bwnc eu hystyriaeth. " Yna yr ymgasglodd yr archoffeiriad, a'r ysgrifenyddion, a henuriaid y bobl, i lŷs yr archoffeiriad, yr hwn a elwid Caiaphas : a hwy a gyd-ymgynghorasant fel y dalient yr Iesu trwy ddichell ac y lladdent ef. Eithr hwy a ddywedasant, Nid ar yr wyl, rhag bod cynwrf yn mhlith y bobl."—MATT. XXVI.

## JUDAS YN CYTUNO I FRADYCHU CRIST.

PRIN y gallasem ei dybied yn bosibl, o'r ychydig, deuddeg mewn rhifedi, y rhai a apwyntiodd Crist i fod yn apostolion ei grefydd, a'r rhai oedd bob amser yn gwrando ei addysgiadau, ac yn llygaid-dystion o'i wyrthiau, y buasai un yn ei wadu, ac un arall yn ei fradychu am arian. Eto felly y bu! Bydd enw Judas byth yn anwahanol gysylltiedig â'r geiriau gwrthgiliwr, a bradychwr. Cyflawnodd y weithred waradwyddus â'i Arglwydd am ddeg darn ar hugain o arian. "Yna yr aeth un o'r deuddeg, yr hwn a elwid Judas Iscariot, at yr archoffeiriaid, ac a ddywedodd wrthynt, Pa beth a roddwch i mi, a mi a'i traddodaf ef i chwi? A hwy a osodasant iddo ddeg-ar-hugain o arian. Ac o hyny allan y ceisiodd efe amser cyfaddas i'w fradychu ef."—MATT. xxvi.

---

## CRIST YN CADW Y PASG.

"Ac ar y dydd cyntaf o wyl y bara croyw, y disgyblion a ddaethant at yr Iesu, gan ddywedyd wrtho, Pa le y myni i ni barotoi i ti fwyta y pasg? Ac yntau a ddywedodd, Ewch i'r ddinas at y cyfryw un, a dywedwch wrtho, Y mae yr Athraw yn dywedyd, Fy amser sydd agos: gyda thi y cynhaliaf y pasc, mi a'm dysgyblion. A'r dysgyblion a wnaethant y modd y gorchymynasai yr Iesu iddynt, ac a barotoisant y pasc. Ac wedi ei myned hi yn hwyr, efe a eisteddodd gyda'r deuddeg. Ac fel yr oeddynt yn bwyta, efe a ddywedodd, Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, mae un o honoch chwi a'm bradycha i. Mab y dyn yn ddiau sydd yn myned, fel y mae yn ysgrifenedig am dano: eithr gwae y dyn hwnw trwy yr hwn y bradychir Mab y dyn: da fuasai i'r dyn hwnw pe nas ganesid ef. Yna Judas, yr hwn a'i bradychodd ef, a atebodd ac a ddywedodd, Ai myfi yw efe, Athraw? Yntau a ddywedodd wrtho, Ti a ddywedaist."—MATT. xxvi.



JUDAS YN CYTUNO I FRADYCHU CRIST.



CRIST YN CADW Y PASG.



CRIST YN GETHSEMANE.

## CRIST YN GETHSEMANE.

Er mai dau o'r deuddeg a wadodd, neu a fradychodd yr Iesu, ac i un o honynt, beth bynag, edifarhau yn chwerwdost, eto, pan ddaeth awr y brofedigaeth, gadawsant ef oll, ac aethant ymaith. Yr oedd Crist ei hun wedi rhagfynegu hyn; "Chwychwi oll a rwystrir heno o'm plegyd i;" yr hyn a dynodd allan wrth-dystiad penderfynol Pedr. Ond, druan o hono! yn mhen ychydig oriau cawn ef yn hòni mor benderfynol eilwaith, "Nid adwaen i y dyn!" Y cyfryw yw gwendid gau-ymddiried. "Yna y daeth yr Iesu gyda hwynt i fan a elwid Gethsemane, ac a ddywedodd wrth ei ddysgyblion, Eisteddwch yma, tra yr elwyf a gweddïo acw. Ac efe a gymerth Pedr, a dau fab Zebedëus, ac a ddechreuodd dristâu ac ymofidio. Yna efe a ddywedodd wrthynt, Trist iawn yw fy enaid hyd angau: arhoswch yma, a gwyliwch gyda mi. Ac wedi iddo fyned ychydig yn mlaen, efe a syrthiodd ar ei wyneb, gan weddïo, a dywedyd, Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwppan hwn heibio oddi wrthyf: eto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti. Ac efe a ddaeth at y dysgyblion, ac a'u cafodd hwy yn cysgu; ac a ddywedodd wrth Pedr, Felly; oni ellych chwi wylied un awr gyda mi? Gwyliwch a gweddïwch, fel nad eloch i brofedigaeth. Yr yspryd yn ddiau sydd yn barod, eithr y cnawd sydd wan. Efe a aeth drachefn yr ail waith, ac a weddïodd, gan ddywedyd, Fy Nhad, onis gall y cwppan hwn fyned heibio oddi wrthyf, na byddo i mi yfed o hono, gwneler dy ewyllys di. Ac efe a ddaeth, ac a'u cafodd hwy yn cysgu drachefn: canys yr oedd eu llygaid hwy wedi trymhau. Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth ymaith drachefn, ac a weddïodd y drydedd waith, gan ddywedyd yr un geiriau. Yna y daeth efe at ei ddysgyblion, ac a ddywedodd wrthynt, Cysgwch bellach, a gorphwyswch: wele, y mae yr awr wedi nesâu, a Mab y dyn a draddodir i ddwylaw pechaduriaid."—Matt. xxvi.

## JUDAS YN BRADYCHU CRIST.

"WELE nesaodd yr hwn sydd yn fy mradychu. Ac efe eto yn llefaru, wele, Judas, un o'r deuddeg, a ddaeth, a chydag ef dyrfa fawr â chleddyfau a ffyn, oddiwrth yr archoffeiriaid a henuriaid y bobl. A'r hwn a'i bradychodd ef a roisai arwydd iddynt, gan ddywedyd, Pa un bynag a gusanwyf, hwnw yw efe: deliwch ef. Ac yn ebrwydd y daeth at yr Iesu, ac a ddywedodd, Henffych well, Athraw; ac a'i cusanodd ef. Yna y daethant ac y rhoisant ddwylaw ar yr Iesu, ac a'i daliasant ef." Anaml y ceir neb hyd y nod yn mysg gwehilion y bobl, a fradychant eu harweinwyr neu eu cymdeithion i'w gelynion, oddigerth dan boenydiau dirfawr, neu fygythion o honynt. Weithiau, yn wir, mae anrhydedd cydymaith yn ildio er mwyn dïal, ar gyfrif camwri gwirioneddol neu ddychymygol; ond y mae y ffaith fod adyn fel Judas yn mysg cyfeillion hoff, a dysgyblion enwog yr hwn oedd yn myned oddiamgylch dan wneuthur daioni, a daioni yn unig; un allai roddi ei Athraw i fyny i'w elynion am ddeg darn ar hugain arian—pris caethwas cyffredin—yn amgylchiad na cheir braidd ei gyffelyb yn hanes troseddau plant dynion. Dengys y geiriau, "deliwch ef," pa mor gyflawn oedd y diafol wedi ei feddiannu.—MATT. xxvi.

---

## PEDR YN GWADU CRIST.

YR ydym yn awr yn dyfod at ddygwyddiad prudd arall yn yr hanes ddifrifol. Pedr, dysgybl cywir a gwresog ein Harglwydd, ond yr hwn nad adwaenai ei wendid ei hun yn awr y perygl, a syrthiodd yn fuan yn y demtasiwn a ddarparwyd iddo gan brif elyn yr enaid. "A'r rhai a ddaliasent yr Iesu, a'i dygasant ef ymaith at Caiaphas yr archoffeiriad. A Phedr a'i canlynodd ef o hirbell, hyd yn llys yr archoffeiriad; ac a aeth i mewn, ac a eisteddodd


JUDAS YN BRADYCHU CRIST.


PEDR YN GWADU CRIST.


EDIFEIRWCH PEDR.

gyda'r gweision, i weled y diwedd." Hyd yma, yr oedd i'w ganmol, oblegyd darllenwn i'r dysgyblion eraill "ei adael a ffoi."—"A Phedr oedd yn eistedd allan yn y llŷs: a daeth morwynig ato, ac a ddywedodd, A thithau oeddit gydag Iesu y Galilead. Ac efe a wadodd ger eu bron hwy oll, ac a ddywedodd, Nis gwn beth yr wyt yn ei ddywedyd. A phan aeth efe allan i'r porth, gwelodd un arall ef; a hi a ddywedodd wrth y rhai oedd yno, Yr oedd hwn hefyd gyda'r Iesu o Nazareth. A thrachefn efe a wadodd trwy lŵ, Nid adwaen i y dyn. Ac ychydig wedi, daeth y rhai oedd yn sefyll ger llaw, ac a ddywedasant wrth Pedr, Yn wir yr wyt tithau yn un o honynt: canys y mae dy leferydd yn dy gyhuddo. Yna y dechreuodd efe regu a thyngu, Nid adwaen i y dyn. Ac yn y man y canodd y ceiliog."—MATT. xxvi.

---

## EDIFEIRWCH PEDR.

"A CHOFIODD Pedr air yr Iesu, yr hwn a ddywedasai wrtho, Cyn canu o'r ceiliog, ti a'm gwedi dair gwaith. Ac efe a aeth allan, ac a wylodd yn chwerw-dost." Mor uchel y mae yr hanes darawiadol hon yn llefaru wrthym yn ngeiriau yr Apostol, "Yr hwn sydd yn sefyll, edryched na syrthio." Proffesai Pedr y zel wresocaf, a sicrhai ei Arglwydd unwaith ac eilwaith o'r ymlyniad mwyaf diysgog wrth ei achos; ac eto, ni syrthiodd yr un o'i frodyr, oddigerth Judas y bradychwr, mor isel ag ef. Yr Arglwydd a drodd ac a edrychodd ar Pedr, yr hwn a aeth allan ac a wylodd yn chwerw-dost. Gadawodd y lle peryglus y cyfarfyddodd ac y gorchfygodd y demtasiwn ef, ac aeth i le unig i roi ffordd i'w enaid gorlawn. Ceisiwn ninau yn gyffelyb gymundeb dirgel â'n calonau, fel y gallom glywed llais dystaw main cydwybod, pa bryd bynag y meddyliom fod ganddi rhywbeth i'w edliw.—MATT. xxvi.

## Y LLYWODRAETHWYR YN CYDYMGYNGHORI YN ERBYN CRIST.

Bu y rhai hyn o'r blaen yn cydymgynghori yn nghylch y moddion goreu i gael yr Iesu i'w dwylaw; ond yn awr, wedi ei gael o flaen y llywodraethwr Rhufeinig, y cwestiwn ydoedd, pa gyhuddiad a ddygasid yn ei erbyn, fuasai yn debyg o gymell Pilat i'w gondemnio. Pe buasai yr awdurdod farnol yn eu dwylaw hwy eu hunain, ni fuasent yn hir cyn dwyn barn marwolaeth ar eu carcharor; ond er fod llywodraeth mewn pethau perthynol i'w crefydd wedi ei gadael yn eu dwylaw, yr oedd pob awdurdod arall yn nwylaw eu gorchfygwyr Rhufeinig. Felly terfynodd yr achos yn llŷs yr archoffeiriad heb iddynt feiddio taro yr ergyd a ddymunent. Wedi ei gyhuddo o gabledd, a'i farnu yn euog o farwolaeth; wedi ei waradwyddo, a phoeri yn ei wyneb, nis gallasent wneuthur ychwaneg nes ei draddodi at y rhaglaw, Pontius Pilat, yr hwn, fel y gwyddom, a ddygodd yr achos yn mlaen yn groes i'w farn a'i deimladau.—Matt. xxvii.

---

## EDIFEIRWCH A MARWOLAETH JUDAS.

Mae yr Efengylwr Matthew yn dwyn tynged Judas i mewn i ganol yr erlyniadau o flaen Pilat, fel pe yn awyddus i ddybenu ar unwaith ag achos y bradychwr. "Yna pan welodd Judas, yr hwn a'i bradychodd ef, ddarfod ei gondemnio ef, bu edifar ganddo, ac a ddug drachefn y deg-ar-hugain arian i'r archoffeiriaid a'r henuriaid. Gan ddywedyd, Pechais, gan fradychu gwaed gwirion. Hwythau a ddywedasant, Pa beth yw hyny i ni? edrych di. Ac wedi iddo daflu yr arian yn y deml, efe a ymadawodd, ac a aeth ac a ymgrogodd." Ychwanegir yn y bennod gyntaf o'r Actau; "a dorodd yn ei ganol, a'i holl ymys-



LLYWODRAETHWYR YN YMGYNGHORI YN ERBYN CRIST.



EDIFEIRWCH A MARWOLAETH JUDAS.



TRALLOD GWRAIG PILAT MEWN BREUDDWYD

garodd ef a dywallt wyd allan." Fel y mae ffordd angeuol troseddwyr yn eu twyllo! Yr oedd Judas yn ddiau, ychydig oriau cyn hyny, yn orawyddus am dderbyn yr arian, y rhai oeddent "wobr anwiredd." Gwelwn nerth cydwybod, hyd y nod yn y dynion gwaethaf. Wele, yr hwn oedd wedi dirmygu holl addysg raslawn yr Iesu, yr hwn na theimlai ddim oddiwrth adgof o'i holl ddaioni, nac oddiwrth ofn ei anfoddlonrwydd, o'r diwedd yn cael ei lethu i angau gan gydwybod, pan ymosododd arno gyda'i cholyn gwenwynig. Felly gall Duw unrhyw foment yru y pechadur caletaf i golledigaeth, yn unig trwy ollwng ei feddyliau ei hun yn rhydd arno, i'w ysu fel fwlturod, a'i wneyd yn esiampl ddychrynllyd i eraill, ac yn ddienyddwr iddo ei hun!—MATT. xxvi.

---

## TRALLOD GWRAIG PILAT MEWN BREUDDWYD.

MAE hwn yn ddygwyddiad nodedig, yr hwn, er nad yw yn cynwys ond ychydig eiriau, sydd yn ychwanegiad at dystiolaeth Cenedloedd a phaganiaid o berffaith uniondeb a diniweidrwydd yr hwn a ddygwyd yn awr o flaen gorsedd cyfiawnder fel drwg-weithredwr. "Ac efe (Pilat) yn eistedd ar yr orsedd-fainc, ei wraig a ddanfonodd ato, gan ddywedyd, Na fydded i ti a wnelych â'r cyfiawn hwnw: canys goddefais lawer heddyw mewn breuddwyd o'i achos ef." Pe buasai Pilat yn meddu ar y gwroldeb a'r diysgogrwydd sydd yn angenrheidiol ar bob dyn a fyno wneyd uniondeb yn wyneb awgrymiadau annghywir, a dylanwad drygionus, buasai yn rhyddhau, heb ofyn un cwestiwn, y dyn nad oedd yn cael dim bai ynddo; ac yn cosbi, yn ddioed, y llofrudd Barabbas, yr hwn oedd yr un amser yn ngharchar.—MATT. xxvii.

## CRIST GERBRON PILAT.

"A'R Iesu a safodd gerbron y rhaglaw: a'r rhaglaw a ofynodd iddo, gan ddywedyd, Ai ti yw Brenin yr Iuddewon? A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yr wyt ti yn dywedyd. A phan gyhuddid ef gan yr archoffeiriaid a'r henuriaid, nid atebodd efe ddim. Yna y dywedodd Pilat wrtho, Oni chlywi di faint o bethau y maent hwy yn ei dystiolaethu yn dy erbyn di? Ac nid atebodd efe iddo un gair; fel y rhyfeddodd y rhaglaw yn fawr. Ac ar yr wyl hòno yr arferai y rhaglaw ollwng yn rhydd i'r bobl un carcharor, yr hwn a fynent. Ac yna yr oedd ganddynt garcharor hynod, a elwid Barabbas. Wedi iddynt gan hyny ymgasglu yn nghyd, Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa un a fynwch i mi ei ollwng yn rhydd i chwi? Barabbas, ai yr Iesu, yr hwn a elwir Crist? Canys efe a wyddai mai o genfigen y traddodasant ef. A'r archoffeiriaid a'r henuriaid a berswadiasant y bobl, fel y gofynent Barabbas, ac y difethent yr Iesu. Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa beth gan hyny a wnaf i'r Iesu, yr hwn a elwir Crist? Hwythau oll a ddywedasant wrtho, Croeshoelier ef. A'r rhaglaw a ddywedodd, Ond pa ddrwg a wnaeth efe? Hwythau a lefarasant yn fwy, gan ddywedyd, Croeshoelier ef. A Philat, pan welodd nad oedd dim yn tycio, ond yn hytrach bod cynwrf, a gymerth ddwfr, ac a olchodd ei ddwylaw gerbron y bobl, gan ddywedyd, Dieuog ydwyf fi oddiwrth waed y cyfiawn hwn: edrychwch chwi. A'r holl bobl a atebodd ac a ddywedodd, Bydded ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant."—MATT. xxvii.

---

## GWARADWYDDO YR IESU.

Y MAE yn anhawdd meddwl sut y gallai Pilat dybied ei hun yn ddieuog o waed dyn cyfiawn, yr hwn a gondemniai


CRIST GERBRON PILAT.


GWARADWYDDO YR IESU.


DWYN CRIST YMAITH I'W GROESHOELIO.

i'r farwolaeth fwyaf gwaradwyddus a dychrynllyd, i foddhau cynddaredd felldigedig dynion maleisus. "Yna y gollyngodd efe Barabbas yn rhydd iddynt: ond yr Iesu a fflangellodd efe, ac a'i rhoddes i'w groeshoelio. Yna milwyr y rhaglaw a gymerasant yr Iesu i'r dadleudŷ, ac a gynullasant ato yr holl fyddin. A hwy a'i dïosgasant ef, ac a roisant am dano fantell o ysgarlad. A chwedi iddynt blethu coron o ddrain, hwy a'i gosodasant ar ei ben ef, a chorsen yn ei law ddehau; ac a blygasant eu gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedyd, Henffych well, brenin yr Iuddewon. A hwy a boerasant arno, ac a gymerasant y gorsen, ac a'i tarawsant ar ei ben. Ac wedi iddynt ei watwar, hwy a'i dïosgasant ef o'r fantell, ac a'i gwisgasant â'i ddillad ei hun." Byddai yn dda i ni fod yn ofalus wrth ddarllen a chlywed mor fynych yr hanes ddigyffelyb hon, rhag fod ffaith mor ddychrynllyd ac mor annghydmarol bwysig, heb ddwyn yr argraff briodol ar ein meddyliau. Côfiwn mai anwyl Fab Duw oedd yr hwn a wisgid â'r wisg waradwyddus, a boerid arno, ac a fflangellid gan ddynion drygionus; ac mai er ein mwyn ni y dyoddefodd yr holl bethau hyn. Yr oedd hyd y nod Pilat ei hun wedi ei daro gan ddirgelwch yr olygfa oedd ger ei fron.—MATT. xxvii.

---

## DWYN CRIST YMAITH I'W GROESHOELIO.

"A HWY a'i dygasant ef ymaith i'w groeshoelio. Ac fel yr oeddynt yn myned allan, hwy a gawsant ddyn o Cyrene, a'i enw Simon; hwn a gymellasant i ddwyn ei groes ef." Gan ei fod yn arferiad i roddi y groes bwysig ar ysgwyddau y drwg-weithredwyr, er ychwanegu cymaint a ellid at eu poenau, mae yn debygol i'r Iachawdwr ddwyn y baich hefyd am dro, ond fod ei nerth yn methu dan y pwysau.—MATT. xxvii.

## Y CROESHOELIAD.

"A PHAN ddaethant i le a elwid Golgotha, yr hwn a elwir, Lle y benglog. Hwy a roisant iddo i'w yfed, finegr yn gymysgedig â bustl: ac wedi iddo ei brofi, ni fynodd efe yfed. A hwy a'i croeshoeliasant ef. (Yna y milwyr, wedi iddynt groeshoelio yr Iesu, a gymerasant ei ddilad ef (ac a wnaethant bedair rhan, i bob milwr ran) a'i bais *ef:* a'i bais ef oedd ddiwniad, wedi ei gwau o'r cwr uchaf trwyddi oll. Hwythau a ddywedasant wrth eu gilydd, Na thorwn hi, ond bwriwn goel-brenau am dani, eiddo pwy fydd hi: fel y cyflawnid yr ysgrythyr sydd yn dywedyd, Rhanasant fy nillad yn eu mysg, ac am fy mhais y bwriasant goel-brenau. A'r milwyr a wnaethant y pethau hyn. Ioan xix.) A chan eistedd, hwy a'i gwyliasant ef yno: a gosodasant hefyd uwch ei ben ef ei achos yn ysgrifenedig, HWN YW IESU BRENIN YR IUDDEWON. Yna y croeshoeliwyd gydag ef ddau leidr; un ar y llaw ddehau, ac un ar yr aswy. A'r rhai oedd yn myned heibio a'i cablasant ef, gan ysgwyd eu penau, a dywedyd, Ti yr hwn a ddinystri y deml, ac a'i hadeiledi mewn tridiau, gwared dy hun. Os ti yw Mab Duw, disgyn oddiar y groes. A'r un modd yr archoffeiriaid hefyd, gan watwar, gyda'r ysgrifenyddion a'r henuriaid, a ddywedasant, Efe a waredodd eraill, ei hunan nis gall efe ei waredu. Os Brenin Israel yw, disgyned yr awrhon oddiar y groes, ac ni a gredwn iddo. Ymddiriedodd yn Nuw; gwareded efe ef yr awrhon, os efe a'i myn ef: canys efe a ddywedodd, Mab Duw ydwyf. A'r un peth hefyd a edliwiodd y lladron iddo, y rhai a groeshoeliasid gydag ef." Ond wedi hyny, edifarhaodd un o honynt, a chafodd y dystiolaeth drugarog oddiwrth yr Iesu, "Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys."—MATT. xxvii.

## MARWOLAETH CRIST.

"Ac o'r chweched awr y bu tywyllwch ar yr holl ddaiar hyd y nawfed awr. Ac yn nghylch y nawfed awr y llefodd yr Iesu â llef uchel, gan ddywedyd, Eli, Eli, lama sabachthani? hyny yw, Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist? A rhai o'r sawl oedd yn sefyll yno, pan glywsant, a ddywedasant, Y mae hwn yn galw am Elias. Ac yn y fan un o honynt a redodd, ac a gymerth yspwng, ac a'i llanwodd o finegr, ac a'i roddodd ar gorsen, ac a'i dīododd ef. A'r lleill a ddywedasant, Paid, edrychwn a ddaw Elias i'w waredu ef. A'r Iesu, wedi llefain drachefn â llef uchel, a ymadawodd â'r yspryd. Ac wele, llen y deml a rwygwyd yn ddau oddi fyny hyd i waered: a'r ddaiar a grynodd, a'r meini a holltwyd: a'r beddau a agorwyd; a llawer o gyrph y saint a hunasent a gyfodasant, ac a ddaethant allan o'r beddau ar ol ei gyfodiad ef, ac a aethant i mewn i'r ddinas santaidd, ac a ymddangosasant i lawer."—MATT. xxvii.

---

## JOSEPH O ARIMATHEA.

YR oedd un dyn cyfrifol a chyfoethog, yr hwn oedd hefyd yn ddyn da. "Ac wele, gŵr a'i enw Joseph, yr hwn oedd gynghorwr, gŵr da a chyfiawn: (hwn ni chytunasai â'u cynghor ac â'u gweithred hwynt) o Arimathea, dinas yr Iuddewon (yr hwn oedd yntau yn dysgwyl hefyd am deyrnas Dduw). (Geilw Matthew ef yn ŵr cyfoethog, Marc yn gynghorwr pendefigaidd, ac Ioan yn ddysgybl cuddiedig rhag ofn yr Iuddewon.) Hwn a ddaeth at Pilat, ac a ofynodd gorph yr Iesu. Ac efe a'i tynodd i lawr, ac a'i hamdôdd mewn llīan main, ac a'i rhoddes mewn bedd wedi ei naddu mewn careg, yn yr hwn ni roddasid dyn erioed."—LUC xxiii.

## GOSOD GWYLIADWRIAETH AR Y BEDD.

"A THRANOETH, yr hwn sydd ar ol y darparwyl, yr ymgynullodd yr archoffeiriaid a'r Phariseaid at Pilat, gan ddywedyd, Arglwydd, y mae yn gôf genym ddywedyd o'r twyllwr hwnw, ac efe eto yn fyw, Wedi tridiau y cyfodaf. Gorchymyn gan hyny gadw y bedd yn ddyogel hyd y trydydd dydd; rhag dyfod ei ddysgyblion o hŷd nos, a'i ladrata ef, a dywedyd wrth y bobl, Efe a gyfododd o feirw; a bydd yr amryfusedd diweddaf yn waeth nâ'r cyntaf. A dywedodd Pilat wrthynt, Y mae genych wyliadwriaeth; ewch, gwnewch mor ddyogel ag y medroch. A hwy a aethant ac a wnaethant y bedd yn ddyogel, ac a seliasant y maen, gyda'r wyliadwriaeth." Cawn yn yr wythfed bennod ar hugain ganlyniad y ddarpariaeth ynfyd hòno. Adroddodd y gwylwyr eu hunain y ffaith, a gwobrwywyd hwy am ddywedyd mai lladrata y corph a wnaed tra yr oeddynt hwy yn cysgu. Ac y mae y dywediad hwn yn para yn mysg yr Iuddewon hyd y dydd hwn.—MATT. xxvii.

---

## YR ADGYFODIAD.

"Ac yn niwedd y Sabbath, a hi yn dyddhau i'r dydd cyntaf o'r wythnos, daeth Mair Magdalen, a'r Fair arall, i edrych y bedd. Ac wele, bu daiargryn mawr: canys disgynodd angel yr Arglwydd o'r nef, ac a ddaeth ac a dreiglodd y maen oddiwrth y drws, ac a eisteddodd arno. A'i wyneb-pryd oedd fel mellten, a'i wisg yn wen fel eira. A rhag ei ofn ef y crynodd y ceidwaid, ac a aethant megys yn feirw. A'r angel a atebodd ac a ddywedodd wrth y gwragedd, Nac ofnwch: canys mi a wn mai ceisio yr ydych yr Iesu, yr hwn a groeshoeliwyd. Nid yw efe yma; canys cyfododd, megys y dywedodd. Deuwch, gwelwch y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd. Ac ewch ar ffrwst, a dywedwch i'w ddysgyblion, gyfodi o hono o feirw. Ac

wele, y mae efe yn myned o'ch blaen chwi i Galilea: yno y gwelwch ef. Wele, dywedais i chwi. Ac wedi eu myned ymaith ar frys oddi wrth y bedd, gydag ofn a llawenydd mawr, rhedasant i fynegi i'w ddysgyblion ef. Ac fel yr oeddent yn myned i fynegi i'w ddysgyblion ef, wele, yr Iesu a gyfarfu â hwynt, gan ddywedyd, Henffych well. A hwy a ddaethant, ac a ymafaelasant yn ei draed ef, ac a i haddolasant."—MATT. xxviii.

---

## YR ESGYNIAD.

YMDDENGYS fod y dygwyddiad hwn, cyflawniad gogoniant y Gwaredwr a gobaith y Cristion, yn cael ei wybod a'i gredu mor gyffredin, fel y mae dau o'r Efengylwyr, Matthew a Ioan, heb ei goffa. Ond i ragflaenu unrhyw amheuaeth ar y mater, y mae Marc a Luc yn ei gadarnhau, a gwneir cyfeiriad ato eilwaith yn y bennod gyntaf o'r Actau. Ar ol anfon ei ddysgyblion allan, a rhoddi iddynt allu gwyrthiol, yr oedd ei waith ar y ddaiar wedi ei orphen. "Felly yr Arglwydd wedi llefaru wrthynt, a gymerwyd i fyny i'r nef, ac a eisteddodd ar ddeheulaw Duw." Dywed Luc yn y 24ain bennod, "Ac efe a'u dug hwynt allan hyd yn Bethania: ac a gododd ei ddwylaw, ac a'u bendithiodd hwynt. Ac fe a ddarfu, tra yr oedd efe yn eu bendithio hwynt, ymadael o hono ef oddi wrthynt, ac efe a ddygwyd i fyny i'r nef." Felly yr esgynodd ein Gwaredwr yn fuddugoliaethus i'r nef, gan gaethiwo caethiwed, ac eistedd ar ddeheulaw Duw yn y goruwch-leoedd. Ymbarotown ninau yn awr at olygfa a wneir yn hysbys i ni, nid gan dystiolaeth eraill, ond gan ein llygaid ein hunain, pan ddaw ef yr ail waith, yn ngogoniant ei Dad, mewn rhwysg mawreddig, yn ngwydd pob llygad, a chyda sain udgorn a bar i holl genedlaethau y meirw ei glywed!—MARC xvi.

## YR ANGEL YN YMDDANGOS I ZACHARIAS.

Yn Efengyl Luc cawn hanes dygwyddiad blaenorol i enedigaeth Ioan Fedyddiwr, yn hysbysu dyfodiad y dyn hynod hwnw i'w rieni. "Yr oedd yn nyddiau Herod, brenin Judea, ryw offeiriad a'i enw Zacharias, o ddyddgylch Abïa: a'i wraig oedd o ferched Aaron, a'i henw Elisabeth. Ac yr oeddent ill dau yn gyfiawn ger bron Duw, yn rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd, yn ddiargyhoedd. Ac nid oedd plentyn iddynt, am fod Elisabeth yn anmhlantadwy, ac yr oeddent wedi myned ill dau mewn gwth o oedran. A bu yn ol arfer swydd yr offeiriaid, ddyfod o ran iddo arogl-darthu yn ol ei fyned i deml yr Arglwydd. Ac ymddangosodd iddo angel yr Arglwydd yn sefyll o'r tu dehau i allor yr arogl-darth. A'r angel a ddywedodd wrtho, Nac ofna, Zacharias: canys gwrandawyd dy weddi; a'th wraig Elisabeth a ddwg i ti fab, a thi a elwi ei enw ef Ioan. A bydd i ti lawenydd a gorfoledd; a llawer a lawenychant am ei enedigaeth ef. Canys mawr fydd efe yn ngolwg yr Arglwydd, ac efe a gyflawnir o'r Yspryd Glân, ïe, o groth ei fam."—Luc i.

---

## CENADWRIAETH IOAN FEDYDDIWR.

Cawn oddiwrth amryw ranau o'r Ysgrythyrau mai gwaith Ioan oedd parotoi ffordd yr Arglwydd. Mae yr hybarch Zacharias yn ei gân ragorol o lawenydd a mawl a ganodd ar enedigaeth ei fab, mewn arddull brophwydol, yn cyfarch y baban fel hyn;—"A thithau, fachgenyn, a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf: canys ti a âi o flaen wyneb yr Arglwydd, i barotoi ei ffyrdd ef; i roddi gwybodaeth iachawdwriaeth i'w bobl, trwy faddeuant o'u pechodau, o herwydd tiriondeb trugaredd ein Duw; trwy yr hon yr ymwelodd â ni godiad haul o'r uchelder, i lewyrchu i'r



YR ANGEL YN YMDDANGOS I ZACHARIAS.



CENADWRIAETH IOAN FEDYDDIWR.



YR ANGEL YN YMDDANGOS I MAIR.

rai sydd yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angau, i gyfeirio ein traed i ffordd tangnefedd. A'r bachgen a gynyddodd, ac a gryfhawyd yn yr yspryd, ac a fu yn y diffaethwch hyd y dydd yr ymddangosodd efe i'r Israel." Dywedodd Ioan am dano ei hun,—"Myfi yw llef un yn llefain yn y diffaethwch, Parotowch ffordd yr Arglwydd, fel y dywedodd Esaias y prophwyd."—Luc i.

---

## YR ANGEL YN YMDDANGOS I MAIR.

Rhydd Matthew hanes ymddangosiad yr angel i Joseph, ac y mae Luc yn cofnodi yr unrhyw ymddangosiad i Mair ei wraig. Ac "Anfonwyd yr angel Gabriel oddiwrth Dduw, i ddinas yn Galilea a'i henw Nazareth, at forwyn wedi ei dyweddïo i ŵr a'i enw Joseph, o dŷ Dafydd; ac enw y forwyn oedd Mair. A'r angel a ddaeth i mewn ati, ac a ddywedodd, Henffych well, yr hon a gefaist ras; yr Arglwydd sydd gyda thi: bendigaid wyt yn mhlith gwragedd. A hithau, pan ei gwelodd, a gythryblwyd wrth ei ymadrodd ef; a meddylio a wnaeth pa fath gyfarch oedd hwn. A dywedodd yr angel wrthi, Nac ofna, Mair: canys ti a gefaist ffafr gyda Duw. Ac wele, ti a gei feichiogi yn dy groth, ac a esgori ar fab, ac a elwi ei enw ef IESU. Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf: ac iddo y rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd. Ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd; ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd. A dywedodd Mair, Wele wasanaethyddes yr Arglwydd; bydded i mi yn ol dy air di. A'r angel a aeth ymaith oddiwrthi hi." —Luc i.

## GENEDIGAETH CRIST YN BETHLEHEM.

"Bu hefyd yn y dyddiau hyny, fyned gorchymyn allan oddiwrth Augustus Cesar, i drethu yr holl fyd. A phawb a aethant i'w trethu, bob un i'w ddinas ei hun. A Joseph hefyd a aeth i fyny o Galilea, o ddinas Nazareth, i Judea, i ddinas Dafydd, yr hon a elwir Bethlehem (am ei fod o dŷ a thylwyth Dafydd), i'w drethu gyda Mair, yr hon a ddyweddiasid yn wraig iddo, yr hon oedd yn feichiog. A bu, tra yr oeddent hwy yno, cyflawnwyd y dyddiau i esgor o honi. A hi a esgorodd ar ei mab cyntaf-anedig, ac a'i rhwymodd ef mewn cadachau, ac a'i dododd ef yn y preseb; am nad oedd iddynt le yn y llety." Gyda'r fath syndod gostyngedig y dylem fyfyrio ar enedigaeth isel ein Gwaredwr ymgnawdoledig! Gallasai holl angelion y nefoedd yn ddigon priodol synu wrth ei ddarostyngiad, i gymeryd y fath natur â'r eiddom ni, a gwisgo corph marwol, er iddo fod yn nghanol y rhwysg a'r gwychder mwyaf. Ond i'n llygaid ni yn unig y mae gwychder daiarol yn ymddangos. I'r ysprydion dedwydd a gylchynant orsedd ddysglaer y nefoedd, rhaid nad ymddengys ein hymdrechion eithaf ni at fawredd a gogoniant trwy aur a gwisgoedd, ond fel coeg-wychder gorwael a charpiau. —Luc ii.

---

## Y BUGEILIAID.

"Ac yr oedd yn y wlad hòno fugeiliaid yn aros yn y maes, ac yn gwylied eu praidd liw nos. Ac wele, angel yr Arglwydd a safodd ger llaw iddynt, a gogoniant yr Arglwydd a ddisgleiriodd o'u hamgylch: ac ofni yn ddirfawr a wnaethant. A'r angel a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch: canys wele yr wyf fi yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn



GENEDIGAETH CRIST YN BETHLEHEM.



Y BUGEILIAID.



SIMEON YN CYMERYD CRIST YN EI FREICHIAU.

yw Crist yr Arglwydd. A hyn fydd arwydd i chwi; Chwi a gewch y dyn bach wedi ei rwymo mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb. Ac yn ddisymwth yr oedd gyda'r angel liaws o lu nefol, yn moliannu Duw, ac yn dywedyd, Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaiar tangnefedd, i ddynion ewyllys da. A bu, pan aeth yr angelion ymaith oddi wrthynt i'r nef, y bugeiliaid hwythau a ddywedasant wrth eu gilydd, Awn hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hwn a wnaethpwyd. A hwy a ddaethant ar frys; ac a gawsant Mair a Joseph, a'r dyn bach yn gorwedd yn y preseb."—Luc ii.

## SIMEON YN CYMERYD CRIST YN EI FREICHIAU.

"Ac wele, yr oedd gŵr yn Jerusalem, a'i enw Simeon: a'r gŵr hwn oedd gyfiawn a duwiol, yn dysgwyl am ddyddanwch yr Israel: a'r Yspryd Glân oedd arno. Ac yr oedd wedi ei hysbysu iddo gan yr Yspryd Glân, na welai efe angau, cyn iddo weled Crist yr Arglwydd. Ac efe a ddaeth trwy yr yspryd i'r deml: a phan ddug ei rieni y dyn bach Iesu, i wneuthur drosto yn ol defod y gyfraith; yna efe a'i cymerth ef yn ei freichiau, ac a fendithiodd Dduw, ac a ddywedodd, Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air: canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth, yr hon a barotoaist ger bron wyneb yr holl bobloedd; goleuni i oleuo y Cenedloedd, a gogoniant dy bobl Israel. Ac yr oedd Joseph a'i fam ef yn rhyfeddu am y pethau a ddywedwyd am dano ef. A Simeon a'u bendithiodd hwynt, ac a ddywedodd wrth Mair ei fam, Wele hwn a osodwyd yn gwymp ac yn gyfodiad i lawer yn Israel, ac yn arwydd yr hwn y dywedir yn ei erbyn; (A thrwy dy enaid di dy hun hefyd yr â cleddyf) fel y datguddir meddyliau llawer o galonau." —Luc ii.

## CRIST YN DYSGU YN Y SYNAGOG.

WEDI nodi yn barod fedydd Crist, a'i demtiad yn y diffaethwch, yr ydym yn awr yn dyfod at ddygwyddiadau yn ei fywyd a'i athrawiaeth, y rhai nad ydynt wedi cael sylw blaenorol yn y gyfrol fechan hon. "Ac yr oedd efe yn athrawiaethu yn eu synagogau hwynt, ac yn cael anrhydedd gan bawb. Ac efe a ddaeth i Nazareth, lle y magesid ef: ac yn ol ei arfer, efe a aeth i'r synagog ar y Sabbath, ac a gyfododd i fyny i ddarllen. A rhodded ato lyfr y prophwyd Esaias: ac wedi iddo agoryd y llyfr, efe a gafodd y lle yr oedd yn ysgrifenedig, Yspryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, oherwydd iddo fy eneinio i; i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachau y drylliedig c galon, i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb; i bregethu blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd. Ac wedi iddo gau y llyfr, a'i roddi i'r gweinidog, efe a eisteddodd. A llygaid pawb oll yn y synagog oedd yn craffu arno. Ac efe a ddechreuodd ddywedyd wrthynt, Heddyw y cyflawnwyd yr ysgrythyr hon yn eich clustiau chwi. Ac yr oedd pawb yn dwyn tystiolaeth iddo, ac yr oeddent yn rhyfeddu am y geiriau grasusol a ddeuai allan o'i enau ef. A hwy a ddywedasant, Onid hwn yw mab Joseph?" A hwy a synasant wrth ei athrawiaeth, canys yr oedd efe yn eu dysgu hwynt fel un ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion.—LUC iv.

---

## BWRW YR YSPRYD AFLAN ALLAN.

"Ac yr oedd yn eu synagog hwy ddyn ag ynddo yspryd aflan; ac efe a lefodd, gan ddywedyd, Och, beth sydd i ni a wnelom â thi, Iesu o Nazareth? a ddaethost ti i'n difetha ni? mi a'th adwaen pwy ydwyt, Sant Duw. A'r

Iesu a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Taw, a dos allan o hono. Yna wedi i'r yspryd aflan ei rwygo ef, a gwaeddi â llef uchel, efe a ddaeth allan o hono. Ac fe a aeth ar bawb fraw, fel yr ymofynasant yn eu mysg eu hunain, gan ddywedyd, Beth yw hyn? pa athrawiaeth newydd yw hon? canys trwy awdurdod y mae efe yn gorchymyn, ïe, yr ysprydion aflan, a hwy yn ufyddhâu iddo. Ac yn ebrwydd yr aeth sôn am dano dros yr holl wlad o amgylch Galilea."—Marc i.

---

## CRIST YN CYHOEDDI Y GORCHYMYN MAWR.

Wedi i'r Iesu ddystewi cynghor y Saduceaid ar bwnc yr adgyfodiad, dechreuwyd ei holi gan yr ysgrifenyddion. "Ac un o'r ysgrifenyddion a ddaeth, wedi eu clywed hwynt yn ymresymu, a gwybod ateb o hono iddynt yn gymhwys, ac a ofynodd iddo, Pa un yw y gorchymyn cyntaf o'r cwbl? A'r Iesu a atebodd iddo, Y cyntaf o'r holl orchymynion yw, Clyw, Israel; Yr Arglwydd ein Duw, un Arglwydd yw: a châr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl, ac â'th holl nerth. Hwn yw y gorchymyn cyntaf. A'r ail sydd gyffelyb iddo; Câr dy gymydog fel ti dy hun. Nid oes orchymyn arall mwy na'r rhai hyn. A dywedodd yr ysgrifenydd wrtho, Da, Athraw, mewn gwirionedd y dywedaist, mai un Duw sydd, ac nad oes arall ond efe: a'i garu ef â'r holl galon, ac â'r holl ddeall, ac â'r holl enaid, ac â'r holl nerth, a charu ei gymydog megys eu hun, sydd fwy na'r holl boeth-offrymau a'r aberthau. A'r Iesu, pan welodd iddo ateb yn synwyrol, a ddywedodd wrtho, Nid wyt ti bell oddiwrth deyrnas Dduw."—Marc xii.

## DWY HATLING Y WEDDW.

Er y ganmoliaeth a roddodd yr Arglwydd i un o'r ysgrifenyddion, yr hwn a roddodd ateb synwyrol, cymerodd achlysur buan i rybuddio ei wrandawyr yn nghylch eu cymeriad cyffredinol, yr hwn oedd yn falch, yn wag-ogoneddgar, a thra-arglwyddiaethus. Yr oeddent, ar yr un pryd, yn orthrymus, yn santaidd a chrefyddol eu hymddangosiad, ond nid oedd ond rhagrith, ac am hyny yr oeddent dan ddedfryd gondemniol. Ceryddai eu balchder yn fynych ; a phan gyfranai y cyfoethog o'r hyn oedd yn ngweddill ganddynt, cymerai ef ofal i ganmol rhywun mwy teilwng, a fuasai, heb hyny, yn dianc yn ddisylw. "A'r Iesu a eisteddodd gyferbyn a'r drysorfa, ac a edrychodd pa fodd yr oedd y bobl yn bwrw arian i'r drysorfa : a chyfoethogion lawer a fwriasant lawer. A rhyw wraig weddw dylawd a ddaeth, ac a fwriodd i mewn ddwy hatling, yr hyn yw ffyrling. Ac efe a alwodd ei ddysgyblion ato, ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, fwrw o'r wraig weddw dylawd hon i mewn fwy na'r rhai oll a fwriasant i'r drysorfa. Canys hwynt-hwy oll a fwriasant o'r hyn oedd yn ngweddill ganddynt : ond hon o'i heisiau a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddai, sef ei holl fywyd."—Marc xii.

---

## ENEINIO YR IESU.

Gwnaed hyn ar ddau achlysur, a phob tro gan wragedd, oddiwrth ba rai y derbyniodd yr Arglwydd aml weithred o garedigrwydd na choffeir am eu cyffelyb gan ei ddysgyblion eraill. Gweiniasant iddo o'r hyn oedd ganddynt, dylynasant ef hyd y diwedd, a hwy ddaeth gyntaf at ei fedd, gan ddangos mwy o gydymdeimlad a charedigrwydd na'r apostolion eu hunain. "Ac un o'r Phariseaid a ddymunodd arno fwyta gyd âg ef : ac yntau a aeth i dŷ y Pharisead,


DWY HATLING Y WEDDW.


ENEINIO YR IESU.


IACHAU Y CLAF O'R PARLYS.

ac a eisteddodd i fwyta. Ac wele, gwraig yn y ddinas, yr hon oedd bechadures, pan wybu hi fod yr Iesu yn eistedd ar y bwrdd yn nhŷ y Pharisead, a ddug flwch o enaint: a chan sefyll wrth ei draed ef o'r tu ol, ac wylo, hi a ddechreuodd olchi ei draed ef â dagrau, ac a'u sychodd â gwallt ei phen: a hi a gusanodd ei draed ef, ac a'u hirodd â'r enaint." Adroddir hanes arall yn y 12fed bennod o Ioan; "Yna y cymerth Mair bwys o enaint nard gwlyb gwerthfawr, ac a eneiniodd draed yr Iesu, ac a sychodd ei draed ef a'i gwallt; a'r tŷ a lanwyd gan arogl yr enaint." Tynodd hyn gerydd nodedig oddiwrth Judas ragrithiol a chybuddlyd, yr hwn a gymerai arno y buasai yn well rhoddi y gwerth i'r tylodion. Ond yr oedd y pwrs ganddo, ac yntau yn dwyn yr hyn a fwrid ynddo. —Ioan xii.

---

## IACHAU Y CLAF O'R PARLYS.

"Ac efe (yr Iesu) a aeth drachefn i Capernaum, wedi rhai dyddiau; a chlybuwyd ei fod ef yn y tŷ. A daethant ato, gan ddwyn un claf o'r parlys, yr hwn a ddygid gan bedwar. A chan na allent nesâu ato gan y dyrfa, didöi y tô a wnaethant lle yr oedd efe: ac wedi iddynt dòri trwodd, hwy a ollyngasant i waered y gwely yn yr hwn y gorweddai y claf o'r parlys. A phan welodd yr Iesu eu ffydd hwynt, efe a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab, maddeuwyd i ti dy bechodau. Ac yr oedd rhai o'r ysgrifenyddion yn eistedd yno, ac yn ymresymu yn eu calonnau, Beth a wna hwn fel hyn yn dywedyd cabledd? pwy a all faddeu pechodau, ond Duw yn unig?" Iachaodd yr Arglwydd y dyn, fel y gwelsom o'r blaen, o flaen eu llygaid, ar ol gofyn iddynt pa un hawsaf maddeu pechod neu gwbl iachau y truan parlysaidd oedd ger eu bron.—Marc ii.

## CRIST YN GWELED SATAN YN SYRTHIO O'R NEF.

Wedi i'r Iesu ddanfon y deg dysgybl a thriugain allan trwy Judea, i bregethu efengyl y deyrnas, iachau y cleifion, a bwrw allan gythreuliaid, o'r diwedd dychwelasant gan lawenychu yn llwyddiant eu cenadaeth; ac yn arbenig, debygid, yn y ffaith fod yr ysprydion aflan wedi eu darostwng iddynt, trwy awdurdod enw Crist. Dywedodd yr Iachawdwr wrthynt, wrth dremio yn mlaen am foment, debygid, at ddymchweliad sicr a hollol galluoedd y tywyllwch, "Mi a welais Satan megys mellten, yn syrthio o'r nef." Gwneir cyfeiriad arall at hyn yn y 12fed bennod o'r Datguddiad:—"A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd; efe a fwriwyd allan i'r ddaiar, a'i angelion a fwriwyd allan gydag ef." Beth bynag, ar ol adnewyddu y dawn gwyrthiol i'w ddysgyblion, mae yr Iesu yn attal eu llawenydd yn yr achos hwnw, ac yn eu hadgoffa o achos llawenydd mwy;—"Eithr yn hyn na lawenhewch, fod yr ysprydion wedi eu darostwng i chwi; ond llawenhewch yn hytrach, am fod eich enwau yn ysgrifenedig yn y nefoedd."—Luc x.

---

## Y TEITHIWR YN MYSG LLADRON.

Arfer cyfreithwyr, fel y gwyddom, yw codi esgusodion dibwys a gwag pan fynant ysgoi gwrthddadl, neu wirionedd anffafriol iddynt. Ymddengys fod y Cyfreithwyr Iuddewig yn arfer y cyfrwysdra yma yn amser Crist, ond byddent bob amser yn cael eu disodli, a byddent efallai, weithiau yn cymeryd yr addysg buddiol a fwriedid yn yr atebion. "Ac wele, rhyw gyfreithiwr a gododd, gan ei demtio ef, a dywedyd, Athraw, pa beth a wnaf i gael etifeddu bywyd tragywyddol? Yntau a ddywedodd wrtho, Pa beth sydd ysgrifenedig yn y gyfraith? pa fodd y dar-


CRIST YN GWELED SATAN YN SYRTHIO O'R NEF.


Y TEITHIWR YN MYSG LLADRON.


Y SAMARITAN DA.

lieni?" Atebodd y cyfreithiwr ef ar unwaith trwy adrodd dau orchymyn mawr ein dyledswydd at Dduw a dyn, "Eithr efe, yn ewyllsio ei gyfiawnhau ei hun, a ddywedodd, A phwy yw fy nghymydog? A'r Iesu gan ateb a ddywedodd, Rhyw ddyn a syrthiodd yn mysg lladron, y rhai wedi ei ddïosg ef, a aethant ymaith, gan ei adael yn hanner marw. Ac ar ddamwain rhyw offeiriad a ddaeth i waered y ffordd hòno: a phan ei gwelodd, efe a aeth o'r tu arall heibio. A'r un ffunud Lefiad hefyd, wedi dyfod i'r fan, a'i weled ef, a aeth o'r tu arall heibio."—Luc x.

---

## Y SAMARITAN DA.

"Eithr rhyw Samariad, wrth ymdaith, a ddaeth ato ef: a phan ei gwelodd, a dosturiodd, ac a aeth ato, ac a rwymodd ei archollion ef, gan dywallt ynddynt olew a gwin; ac a'i gosododd ef ar ei anifail ei hun, ac a'i dug ef i'r llety, ac a'i hamgeleddodd. A thranoeth wrth fyned ymaith, efe a dynodd allan ddwy geiniog, ac a'u rhoddes i'r lletywr, ac a ddywedodd wrtho, Cymer ofal drosto; a pha beth bynag a dreulicch yn ychwaneg, pan ddelwyf drachefn, mi a'i talaf i ti. Pwy gan hyny o'r tri hyn, yr ydwyt ti yn tybied ei fod yn gymydog i'r hwn a syrthiasai yn mhlith y lladron? Ac efe a ddywedodd, Yr hwn a wnaeth drugaredd âg ef. A'r Iesu am hyny a ddywedodd wrtho, Dos, a gwna dithau yr un modd." Dyma esboniad eglur ac ymarferol ar orchymyn Moses, yr hwn nas gallasai cyfreithiwr ei ysgoi. Ni ddywedir i ni pa un a ufyddhaodd efe i gynghor terfynol yr Arglwydd a'i peidio. Yr ydym yn ofni fod llawer yn ein mysg a alwant eu hunain yn Gristionogion yn yr ystyr uchaf, ond a adawant yr anafus a'r tylawd i drugaredd eraill. Mae y cyfryw, yn wir, yn gwrando geiriau Crist; ond os na wnant hwynt, dywed yr un awdurdod, nad yw ei gobaith am iachawdwriaeth ond adeilad ar y tywod, ac a syrth yn y diwedd yn anadferadwy.—Luc x.

## MARTHA A MAIR.

Yr oedd y ddwy chwaer, efallai, yr un mor barod i wasanaethu ac anrhydeddu ein Harglwydd; ond rhoddai un fwy o werth ar ei eiriau na'r llall. Meddyliai Mair, efallai, na fuasai y dysgawdwr dwyfol, yr hwn a lefarasai fel na lefarodd dyn erioed, yn aros yn hir ar y ddaiar; tra yr oedd Martha, a'i bryd ar ofalon lletygar, yn annghofio ei bod, wrth ofalu cymaint am y bwyd a dderfydd, yn colli ei chyfran o'r bara o'r nef, yr hwn yr oedd yr Iesu yn gyfranu i'r rhai a wrandawent arno. Beth bynag, ni cheryddwyd hi, hyd nes iddi hi geisio cerydd ar ei chwaer. "A bu, a hwy yn ymdeithio, ddyfod o hono i ryw dref: a rhyw wraig, a'i henw Martha, a'i derbyniodd ef i'w thŷ. Ac i hon yr oedd chwaer a elwid Mair, yr hon hefyd a eisteddodd wrth draed yr Iesu, ac a wrandawodd ar ei ymadrodd ef. Ond Martha oedd drafferthus yn nghylch llawer o wasanaeth: a chan sefyll gerllaw, hi a ddywedodd, Arglwydd, onid oes ofal genyt am i'm chwaer fy ngadael i fy hun i wasanaethu? dywed wrthi gan hyny am fy helpio. A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthi, Martha, Martha, gofalus a thrafferthus wyt yn ngylch llawer o bethau: eithr un peth sydd angenrheidiol. A Mair a ddewisodd y rhan dda, yr hon ni ddygir oddi arni."—Luc x.

---

## LLWYDDIANT AC YNFYDRWYDD.

"Ac efe (yr Iesu) a ddywedodd wrthynt, Edrychwch, ac ymogeiwch rhag cybydd-dod: canys nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo. Ac efe a draethodd wrthynt ddameg, gan ddywedyd, Tir rhyw ŵr goludog a gnydiodd yn dda. Ac efe a ymresymodd ynddo ei hun, gan ddywedyd, Beth a wnaf, am nad oes genyf le

le i gasglu fy ffrwythau iddo? Ac efe a ddywedodd, Hyn a wnaf: Mi a dynaf i lawr fy ysguboriau, ac a adeiladaf rai mwy; ac yno y casglaf fy holl ffrwythau, a'm da. A dywedaf wrth fy enaid, Fy enaid, y mae genyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd: gorphwys, bwyta, ŷf, bydd lawen. Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddi wrthyt; ac eiddo pwy fydd y pethau a barotöaist? Felly y mae yr hwn sydd yn trysori iddo ei hun, ac nid yw gyfoethog tuag at Dduw."—Luc xii.

——

## YMADAWIAD YR AFRADLON.

Y DDAMEG hon yw un o'r rhai mwyaf tarawiadol, addysgiadol, a chefnogol yn y Testament Newydd; ac y mae teimlad cyffrous a symlrwydd nefol yr hanes, yn gyfryw na chyfarfyddir a'i hynotach yn yr holl Feibl. Ond na foddlonwn ar fawrygu yr hanes, heb dderbyn y daioni a fwriedir ynddo, a dychwelyd at ein Tad nefol, yr hwn sydd yn derbyn yn drugarog bechaduriaid edifeiriol. Yr oedd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, fel arfer, wedi bod yn grwgnach wrth ymddarostyngiad y Bugail mawr at ddefaid crwydredig y gorlan Iuddewig, gan ddywedyd: "Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid. Ac efe a ddywedodd, Yr oedd gan ryw ŵr ddau fab: a'r ieuangaf o honynt a ddywedodd wrth ei dad, Fy nhad, dyro i mi y rhan a ddygwydd o'r da. Ac efe a ranodd iddynt ei fywyd. Ac ar ol ychydig ddyddiau y mab ieuangaf a gasglodd y cwbl yn nghyd, ac a gymerth ei daith i wlad bell; ac yno efe a wasgarodd ei dda, gan fyw yn afradlawn."—Luc xv.

## YR AFRADLON YN PORTHI MOCH.

A OES llawenydd gan y pechadur wedi ymollwng i bechod, a oes ganddo heddwch, neu obaith? A oes ganddo anrhydedd, neu hunan-foddhad wrth edrych yn ol? Nac oes. Ni feda yr ysgubau gwaelion na'r grawn gwylltion, dim ond cibau a drain. "Ac wedi iddo dreulio y cwbl, y cododd newyn mawr trwy y wlad hòno; ac yntau a ddechreuodd fod mewn eisiau. Ac efe a aeth ac a lynodd wrth un o ddinaswyr y wlad hòno; ac efe a'i hanfonodd ef i'w feusydd i borthi moch. Ac efe a chwennychai lenwi ei fol â'r cibau a fwytai y moch: ac ni roddodd neb iddo." Felly yn gyfnewid am ei etifeddiaeth deg, yr hon a roddodd ei dad iddo yn gynt na phryd, trwy orawydd y gŵr ieuanc, y mae yn awr wedi syrthio i ganol angen, gwaradwydd, a thrueni!—LUC xv.

---

## DYCHWELIAD YR AFRADLON.

ETO ni roddwyd ef i fyny i eithafoedd ffolineb a gwallgofrwydd i geisio marwolaeth ac uffern yn hytrach nac edifarhau. "A phan ddaeth ato ei hun, efe a ddywedodd, Pa sawl gwas cyflog o'r eiddo fy nhad sydd yn cael eu gwala a'u gweddill o fara, a minau yn marw o newyn? Mi a godaf, ac a âf at fy nhad, ac a ddywedaf wrtho, Fy nhad, pechais yn erbyn y nef, ac o'th flaen dithau; ac mwyach nid ydwyf deilwng i'm galw yn fab i ti: gwna fi fel un o'th weision cyflog. Ac efe a gododd, ac a aeth at ei dad. A phan oedd efe eto yn mhell oddiwrtho, ei dad a'i canfu ef, ac a dosturiodd, ac a redodd, ac a syrthiodd ar ei wddf ef, ac a'i cusanodd. A'r mab a ddywedodd wrtho, Fy nhad, pechais yn erbyn y nef, ac o'th flaen dithau; ac nid ydwyf mwy deilwng i'm galw yn fab i ti. A'r tad a ddywedodd wrth ei weision, Dygwch allan y wisg oreu, a gwisgwch am dano ef, a rhoddwch fodrwy ar ei law, ac esgidiau am ei draed. A dygwch y llo pasg-



YR AFRADLON YN PORTHI MOCH.



DYCHWELIAD YR AFRADLON.



Y GWR GOLUDOG A LAZARUS.

edig, a lleddwch ef; a bwytawn a byddwn lawen." Yn awr daeth ei fab hynaf, a chlywodd ganu a dawnsio. Ac efe a ddigiodd, ac nid âi i mewn, a dywedodd wrth ei dad, "Wele cynifer o flynyddoedd ydwyf yn dy wasanaethu, ac ni roddaist fyn erioed i mi i fod yn llawen gyda'm cyfeillion. A'i dad a ddywedodd wrtho, Fy mab, yr wyt ti yn wastadol gyda mi. Rhaid oedd llawenychu, a gorfoleddu: oblegyd dy frawd hwn oedd yn farw, ac a aeth yn fyw drachefn; ac a fu golledig, ac a gafwyd."—Luc xv.

---

## Y GWR GOLUDOG A LAZARUS.

Yr oedd rhyw ŵr goludog, ac a wisgid â phorphor a llian main, ac yr oedd yn cymeryd byd da yn helaethwych beunydd: yr oedd hefyd ryw gardotyn, a'i enw Lazarus, yr hwn a fwrid wrth ei borth ef yn gornwydlyd, ac yn chwennychu cael ei borthi â'r briwsion a syrthiai oddiar fwrdd y gŵr cyfoethog; ond y cwn a ddaethant, ac a lyfasant ei gornwydydd ef. A bu, i'r cardotyn farw, a'i ddwyn gan yr angelion i fynwes Abraham. A'r goludog hefyd a fu farw, ac a gladdwyd: ac yn uffern efe a gododd ei olwg, ac efe mewn poenau, ac a ganfu Abraham o hirbell, a Lazarus yn ei fynwes. Ac efe a lefodd, ac a ddywedodd, O dad Abraham, trugarha wrthyf, a danfon Lazarus i drochi pen ei fys mewn dwfr, ac i oeri fy nhafod: canys fe a'm poenir yn y fflam hon. Ac Abraham a ddywedodd, Ha fab, coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac felly Lazarus ei adfyd; ac yn awr y diddenir ef, ac y poenir dithau. Ac efe a ddywedodd, Yr wyf yn atolwg, i ti gan hyny, O dad, ddanfon o honot ef i dŷ fy nhad: canys y mae i mi bump o frodyr: fel y tystiolaetho iddynt hwy, rhag dyfod o honynt hwythau hefyd i'r lle poenus hwn. Yna Abraham a ddywedodd wrtho, Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw."—Luc xvi.

## Y DEG GWAHANGLEIFION.

"Bu hefyd, ac efe (yr Iesu) yn myned i Jerusalem, fyned o hono ef trwy ganol Samaria a Galilea. A phan oedd efe yn myned i mewn i ryw dref, cyfarfu âg ef ddeg o wŷr gwahangleifion, y rhai a safasant o hirbell: a hwy a godasant eu llef, gan ddywedyd, Iesu Feistr, trugarha wrthym. A phan welodd efe hwynt, efe a ddywedodd wrthynt, Ewch a dangoswch eich hunain i'r offeiriaid. A bu fel yr oeddent yn myned, fe a'u glanhawyd hwynt. Ac un o honynt, pan welodd ddarfod ei iachau, a ddychwelodd, gan foliannu Duw â llef uchel. Ac efe a syrthiodd ar ei wyneb wrth ei draed ef, gan ddiolch iddo. A Samariad oedd efe. A'r Iesu gan ateb a ddywedodd, Oni iachawyd y deg? ond pa le y mae y naw? Ni chaed a ddychwelasant i roi gogoniant i Dduw ond yr estron hwn. Ac efe a ddywedodd wrtho, Cyfod, a dos ymaith: dy ffydd a'th iachaodd."—Luc xvii.

---

## Y PHARISEAD A'R PUBLICAN.

Bwriadwyd y ddameg fer hon i geryddu balchder a gwagogoniant y Phariseaid, a'r Saduceaid, y rhai a feddylient gymaint o'u cyfiawnderau eu hunain, fel nad amheuent eu cymeradwyaeth gerbron Duw, ac na ddychymygent bosibilrwydd maddeuant i eraill. "Dau ŵr a aeth i fyny i'r deml i weddïo; un yn Pharisead a'r llall yn bublican. Y Pharisead o'i sefyll a weddïodd rhyngddo ag ef ei hun fel hyn; O Dduw, yr wyf yn diolch i ti nad wyf fi fel y mae dynion eraill, yn drawsion, yn anghyfiawn, yn odinebwyr; neu, fel y publican hwn chwaith. Yr wyf yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos; yr wyf yn degymu cymaint oll ag a feddaf. A'r publican, gan sefyll o hirbell, ni fynai gymaint a chodi ei olygon tua'r nef; eithr efe a gurodd ei ddwyfron, gan ddywedyd, O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur. Dywedaf i chwi, Aeth hwn i waered i'w dŷ wedi ei gyfiawnhau yn fwy nâ'r llall:



Y DEG GWAHANGLEIFION.



Y PHARISEAD A'R PUBLICAN.



ZACCHEUS YN Y SYCAMOR-WYDDEN.

canys pob un a'r y sydd yn ei ddyrchafu ei hun, a ostyngir; a phob un a'r y sydd yn ei ostwng ei hun, a ddyrchefir."—Luc xviii.

---

## ZACCHEUS YN Y SYCAMOR-WYDDEN.

YMA eto, gwelodd yr Arglwydd yn briodol i synu y dyrfa o'i amgylch trwy ymostwng at ddyn yr edrychai yr Iuddewon arno yn bechadur mawr. Er nad oes dim gwaeth yn cael ei gofnodi am Zaccheus na'i fod yn Bublican, neu dreth-gasglwr cyfoethog, yr hon swydd oedd yn dra gwrthwynebus gan y genedl falch a gorchfygedig hon. Nid oedd ei waith yn porthi y newynog a hanner ei dda, na'i uniondeb yn ei drafodaeth, yn ennill dim ffafr iddo gyda'r rhai a ddinystrient dai gwragedd gweddwon, ac a ddirmygent Grist ei hun a'i ddysgyblion am eu bod yn dylawd. "Ac wele, ŵr a elwid wrth ei enw Zaccheus, ac efe oedd ben-publican, a hwn oedd gyfoethog. Ac yr oedd efe yn ceisio gweled yr Iesu, pwy ydoedd; ac ni allai gan y dyrfa, am ei fod yn fychan o gorpholaeth. Ac efe a redodd o'r blaen, ac a ddringodd i sycamor-wydden, fel y gallai ei weled ef: oblegyd yr oedd efe i ddyfod y ffordd hòno. A phan ddaeth yr Iesu i'r lle, efe a edrychodd i fyny, ac a'i canfu ef; ac a ddywedodd wrtho, Zaccheus, disgyn ar frys: canys rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di. Ac efe a ddisgynodd ar frys, ac a'i derbyniodd ef yn llawen. A phan welsant, grwgnach a wnaethant oll, gan ddywedyd, Fyned o hono ef i mewn i letya at ŵr pechadurus. A Zaccheus a safodd, ac a ddywedodd wrth yr Arglwydd, Wele, hanner fy na, O Arglwydd, yr ydwyf yn ei roddi i'r tylodion; ac os dygais ddim o'r eiddo neb trwy gamachwyn, yr ydwyf yn ei dalu ar ei bedwerydd. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Heddyw y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn, o herwydd ei fod yntau yn fab i Abraham. Canys Mab y dyn a ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid."—Luc xix.

## CRIST YN WYLO UWCHBEN JERUSALEM.

Torodd yr Arglwydd allan mewn wylofain a galar ddwywaith, yn yr ymadroddion mwyaf cyffrous a phwysig, uwchben Jerusalem, hen ardal ei enedigaeth. Ar ol cyhuddo a chondemnio penaethiaid yr Iuddewon, yn y geiriau cryfaf oedd yn bosibl, am eu drygau, a'u dedfrydu i daledigaeth eu gwobrwy, yn y drydedd bennod ar hugain o Matthew, cyfarcha Jerusalem gyda goslef o ofid yn gystal â chondemniad. "O Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir atat; pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant yn nghyd, megys y casgl iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech! Wele, yr ydys yn gadael eich tŷ i chwi yn annghyfanedd." Dro arall, pan yn marchogaeth tua'r ddinas, ychydig cyn dyoddef y tu allan i'w mhuriau, efe a wylodd drosti, gan ddywedyd, "Pe gwybuasit tithau, ïe, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynent i'th heddwch! eithr y maent yn awr yn guddiedig oddiwrth dy lygaid." Yna y canlyn y rhagfynegiad am gwymp a difrodiad y ddinas anffodus, dyoddefiadau a dinystr digyffelyb yr hon a gymerodd le yn mhen ychydig o flynyddoedd ar ol prophwydoliaeth yr Iachawdwr.—Luc xix.

---

## CRIST YN TROI Y DWFR YN WIN.

Cymerwn yn awr ychydig o ddygwyddiadau yn hanes yr Iesu, o Efengyl Ioan, gan fyned heibio i'r rhai sydd wedi eu nhodi eisoes. "Ac yr oedd priodas yn Cana Galilea: a mam yr Iesu oedd yno. A galwyd yr Iesu hefyd a'i ddysgyblion i'r briodas. A phan ballodd y gwin, mam yr Iesu a ddywedodd wrtho ef, Nid oes ganddynt mo'r gwin. Iesu a ddywedodd wrthi, Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, wraig? ni ddaeth fy awr i eto. Ei fam ef a ddywedodd



CRIST YN WYLO UWCHBEN JERUSALEM.



CRIST YN TROI Y DWFR YN WIN.



YR YMDDYDDAN A NICODEMUS.

wrth y gwasanaethwyr, Beth bynag a ddywedo efe wrthych gwnewch. Ac yr oedd yno chwech o ddyfr-lestri meini wedi eu gosod, y rhai a ddalient bob un ddau ffircyn neu dri. Iesu a ddywedodd wrthynt, Llenwch y dyfr-lestri o ddwfr. A hwy a'u llanwasant hyd yr ymyl. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch yn awr, a dygwch at lywodraethwr y wledd. A hwy a ddygasant. A phan brofodd llywodraethwr y wledd y dwfr a wnaethid yn win (ac ni wyddai o ba le yr ydoedd, eithr y gwasanaethwyr, y rhai a ollyngasent y dwfr a wyddent) llywodraethwr y wledd a alwodd ar y priod-fab, ac a ddywedodd wrtho, Pob dyn a esyd y gwin da yn gyntaf; ac wedi iddynt yfed yn dda, yna un a fo gwaeth: tithau a gedwaist y gwin da hyd yr awr hon."—IOAN ii.

---

## YR YMDDYDDAN A NICODEMUS.

"Ac yr oedd dyn o'r Phariseaid, a'i enw Nicodemus, penaeth yr Iuddewon: hwn a ddaeth at yr Iesu liw nos. ac a ddywedodd wrtho, Rabbi, nyni a wyddom mai dysgawdwr ydwyt wedi dyfod oddiwrth Dduw: canys ni allai neb wneuthur y gwyrthiau hyn yr wyt ti yn eu gwneuthur, oni bai fod Duw gydag ef. Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddi eithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw. Yr hyn a aned o'r cnawd, sydd gnawd; a'r hyn a aned o'r Yspryd sydd yspryd. Na ryfedda ddywedyd o honof fi wrthyt, Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn. Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno, felly mae pob un a'r a aned o'r Yspryd. Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." —IOAN iii.

## Y WRAIG O SAMARIA.

"Efe (yr Iesu) a ddaeth gan hyny i ddinas yn Samaria. Ac yno yr oedd ffynnon Jacob. Yr Iesu gan hyny yn ddiffygiol gan y daith, a eisteddodd felly ar y ffynnon: ac yn nghylch y chweched awr ydoedd hi. Daeth gwraig o Samaria i dynu dwfr: a'r Iesu a ddywedodd wrthi, Dyro i mi i yfed. Yna y wraig o Samaria a ddywedodd wrtho ef, Pa fodd yr ydwyt ti, a thi yn Iuddew, yn gofyn diod genyf fi, a myfi yn wraig o Samaria; oblegyd nid yw yr Iuddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid. Yr Iesu a atebodd, Ped adwaenit ti ddawn Duw, a phwy yw yr hwn sydd yn dywedyd wrthyt, Dyro i mi yfed; tydi a ofynasit iddo ef, ac efe a roddasai i ti ddwfr bywiol. Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid oes genyt ti ddim i godi dwfr, a'r pydew sydd ddwfn: o ba le gan hyny y mae genyt ti y dwfr bywiol hwnw? Ai mwy wyt ti nâ'n tad Jacob, yr hwn a roddodd i ni y pydew, ac efe ei hun a yfodd o hono, a'i feibion, a'i anifeiliaid? Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthi, Pwy bynag sydd yn yfed o'r dwfr hwn, efe a sycheda drachefn: ond pwy bynag a yfo o'r dwfr a roddwyf fi iddo, ni sycheda yn dragywydd; eithr y dwfr a roddwyf iddo, a fydd ynddo yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol. Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, dyro i mi y dwfr hwn, fel na sychedwyf, ac na ddelwyf yma i godi dwfr. Iesu a ddywedodd wrthi, Dos, galw dy ŵr, a thyred yma. Y wraig a ddywedodd, Nid oes genyf ŵr. Iesu a ddywedodd wrthi, Da y dywedaist. Canys pump o wŷr a fu i ti; a'r hwn sydd genyt yr awrhon, nid yw ŵr i ti. Y wraig a ddywedodd wrtho ef, Arglwydd, mi a welaf mai prophwyd wyt ti."—Ioan iv.

---

## LLYN BETHESDA.

"Ac y mae yn Jerusalem, wrth farchnad y defaid, lyn a elwir yn Hebraeg, Bethesda, ag iddo pum' porth: yn y



Y WRAIG O SAMARIA.



LLYN BETHESDA.



CRIST YN RHODIO AR Y MOR.

rhai y gorweddai lliaws mawr o rai cleifion, deillion, cloffion, gwywedigion, yn dysgwyl am gynhyrfiad y dwfr. Canys angel oedd ar amserau yn disgyn i'r llyn, ac yn cynhyrfu y dwfr: yna yr hwn a elai i mewn yn gyntaf ar ol cynhyrfu y dwfr, a âi yn iach o ba glefyd bynag a fyddai arno. Ac yr oedd rhyw ddyn yno, yr hwn a fuasai glaf namyn dwy flynedd deugain. Yr Iesu pan welodd hwn yn gorwedd, a gwybod ei fod ef felly yn hir o amser bellach, a ddywedodd wrtho, A fyni di dy wneuthur yn iach? Y claf a atebodd iddo, Arglwydd, nid oes genyf ddyn i'm bwrw i'r llyn, pan gynhyrfer y dwfr: ond tra fyddwyf fi yn dyfod, arall a ddisgyn o'm blaen i. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Cyfod, cymer dy wely i fyny, a rhodia. Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn iach: ac efe a gododd ei wely, ac a rodiodd."—IOAN v.

---

## CRIST YN RHODIO AR Y MOR.

"A PHAN hwyrhaodd hi, ei ddysgyblion a aethant i waered at y môr. Ac wedi iddynt ddringo i long, hwy a aethant dros y môr i Capernaum. Ac yr oedd hi weithian yn dywyll, a'r Iesu ni ddaethai atynt hwy. A'r môr, gan wynt mawr yn chwythu, a gododd. Yna, wedi iddynt rwyfo yn nghylch pump-ar-hugain neu ddeg-ar-hugain o ystadiau, hwy a welent yr Iesu yn rhodio ar y môr, ac yn nesâu at y llong; ac a ofnasant. Ond efe a ddywedodd wrthynt, Myfi yw; nac ofnwch." Yn y 14eg bennod o Matthew, darllenwn hefyd, "A Phedr a'i hatebodd, ac a ddywedodd, O Arglwydd, os tydi yw, arch i mi ddyfod atat ar y dyfroedd. Ac efe a ddywedodd, Tyred. Pedr a rodiodd ar y dyfroedd, i ddyfod at yr Iesu. Ond pan welodd efe y gwynt yn gryf, efe a ofnodd: a phan ddechreuodd suddo, efe a lefodd, gan ddywedyd, Arglwydd, cadw fi. Ac yn y man yr estynodd yr Iesu ei law, ac a ymaflodd ynddo ef, ac a ddywedodd wrtho, Tydi o ychydig ffydd, pa ham y petrusaist?"—IOAN vi.

## CYFODI LAZARUS O FEIRW.

"Ac yr oedd un yn glaf, Lazarus, o Bethania, o dref Mair, a'i chwaer Martha." (Eu brawd hwy oedd Lazarus.) "Am hyny y chwiorydd a ddanfonasant ato ef (yr Iesu), gan ddywedyd, Wele, y mae yr hwn sydd hoff genyt ti yn glaf. A'r Iesu pan glybu, a ddywedodd, Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth, ond er gogoniant Duw, fel y gogonedder Mab Duw trwy hyny. A hoff oedd gan yr Iesu Martha, a'i chwaer, a Lazarus. Pan glybu efe gan hyny ei fod ef yn glaf, efe a arhosodd yn y lle yr oedd, ddau ddiwrnod. Ac wedi hyny efe a ddywedodd wrthynt, Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno. Yna ei ddysgyblion a ddywedasant, Arglwydd, os huno y mae, efe a fydd iach. Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt yn eglur, Bu farw Lazarus. Ac y mae yn llawen genyf er eich mwyn chwi, ond awn ato ef. Yna yr Iesu wedi dyfod, a'i cafodd ef wedi bod weithian bedwar diwrnod yn y bedd. Yna y codasant y maen lle yr oedd y marw wedi ei osod. A'r Iesu a gododd ei olwg i fyny, ac a ddywedodd, Y Tad, yr wyf yn diolch i ti am wrando arnaf. Ac myfi a wyddwn dy fod di yn fy ngwrando bob amser: eithr er mwyn y bobl sydd yn sefyll o amgylch, y dywedais, fel y credont mai tydi a'm hanfonaist i. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lefodd â llef uchel, Lazarus, tyred allan. A'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan, yn rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn amdo: a'i wyneb oedd wedi ei rwymo â napcyn. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch ef yn rhydd, a gadewch iddo fyned ymaith."—Ioan xi.

---

## CRIST YN GOLCHI TRAED EI DDYSGYBLION.

Dyma wers dda yn wir, ac angenrheidiol i'n calonau balch ni. Pa mor ychydig o honom ni na phetrusai gyflawni gweithred o garedigrwydd a thrugaredd, os tybiem fod rhywbeth yn wasaidd ynddi, neu a'n darostyngai at safon gostyngeiddrwydd yr Efengyl yn ngolwg y rhai sydd



CYFODI LAZARUS O FEIRW.



CRIST YN GOLCHI TRAED EI DDYSGYBLION.



Y MILWYR YN SYRTHIO GERBRON CRIST.

o'n hamgylch. A oes genym ni, ynte, fwy o anrhydedd i ofalu am dano na Mab Duw; ac a ydym ni bob amser yn gofalu peidio gwneyd dim mwy gwir waradwyddus na golchi traed cardotyn? "Yr Iesu yn gwybod roddi o'r Tad bob peth oll yn ei ddwylaw ef, a'i fod wedi dyfod oddiwrth Dduw, ac yn myned at Dduw; efe a gyfododd oddiar swpper, ac a roes heibio ei gochl-wisg, ac a gymerodd dywel, ac a ymwregysodd. Wedi hyny efe a dywalltodd ddwfr i'r cawg, ac a ddechreuodd olchi traed ei ddysgyblion, a'u sychu â'r tywel, â'r hwn yr oedd efe wedi ei wregysu. Yna y daeth efe at Simon Pedr. Ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, a wyt ti yn golchi fy nhraed i? Ni chei di olchi fy nhraed i byth. Yr Iesu a atebodd iddo, Oni olchaf di, nid oes i ti gyfran gyda myfi. Pedr a ddywedodd, Arglwydd, nid fy nhraed yn unig, eithr fy nwylaw a'm pen hefyd. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Yr hwn a olchwyd nid rhaid iddo ond golchi ei draed, eithr y mae yn lân oll: ac yr ydych chwi yn lân, eithr nid pawb oll. Canys efe a wyddai pwy a'i bradychai ef."—Ioan xiii.

---

## Y MILWYR YN SYRTHIO GERBRON CRIST.

Ymddengys i'r milwyr, y rhai, trwy fradychiad Judas, a arweiniwyd at yr Iesu i'w ddal, deimlo rhyw ddychryn pan hysbysodd ef ei hun, yr hyn barodd iddynt syrthio i lawr, naill ai mewn ofn, neu o barch iddo. Ond y mae yn amlwg i'r teimlad hwnw ddiflanu yn fuan, gan y cawn hwynt yn cyflawni y gorchymyn annghyfiawn a gawsent. "Yr Iesu a aeth allan, ac a ddywedodd wrthynt, Pwy yr ydych yn ei geisio? Hwy a atebasant iddo, Iesu o Nazareth. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi yw. Cyn gynted gan hyny ag y dywedodd efe wrthynt, Myfi yw. hwy a aethant yn wysg eu cefnau, ac a syrthiasant i lawr."—Ioan xviii.

## CRIST YN DANGOS EI ARCHOLLION I THOMAS.

Nid oedd fawr dysgwyliad, yn ddiau, am adgyfodiad Crist yn mysg ei ddysgyblion yn gyffredinol; y rhai, yn lle ymweled â'r bedd mewn ymddiried diysgog yr adgyfodai y trydydd dydd, yn ol ei air, a dderbyniasant y newydd am y bedd gwag mewn syndod anwybodus, os nad mewn annghrediniaeth hollol. Dywedir am danynt nad oeddent eto yn gwybod yr Ysgrythyrau, fod yn rhaid iddo adgyfodi oddiwrth y meirw. Am Thomas, gwrthododd ef dystiolaeth bendant ei frodyr ar y pwnc. "Y dysgyblion eraill gan hyny a ddywedasant wrtho. Ni a welsom yr Arglwydd. Yntau a ddywedodd wrthynt, Oni chaf weled yn ei ddwylaw ef ol yr hoelion, a dodi fy mys yn ol yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi. Ac wedi wyth niwrnod, drachefn yr oedd ei ddysgyblion ef i mewn, a Thomas gyda hwynt. Yna yr Iesu a ddaeth, a'r drysau yn gauad, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd, Tangnefedd i chwi. Wedi hyny y dywedodd efe wrth Thomas, Moes yma dy fys, a gwel fy nwylaw; ac estyn dy law, a dod yn fy ystlys: ac na fydd annghredadyn, ond credadyn."—Ioan xx.

---

## CRIST YN YMDDANGOS WRTH FOR TIBERIAS.

"Gwedi y pethau hyn, yr Iesu a ymddangosodd drachefn i'w ddysgyblion wrth fôr Tiberias: ac fel hyn yr ymddangosodd. Yr oedd yn nghyd Simon Pedr, a Thomas yr hwn a elwir Didymus, a Nathanäel o Cana yn Galilea, a meibion Zebedeus, a dau eraill o'i ddysgyblion ef. Dywedodd Simon Pedr wrthynt, Yr wyf fi yn myned i bysgota. Dywedasant wrtho, Yr ydym ninau hefyd yn dyfod gyda thi. A hwy a aethant allan, ac a ddringasant i long yn y man; a'r nos hòno ni ddaliasant ddim. A phan ddaeth y boreu weithian, safodd yr Iesu ar y lan: eithr y

dysgyblion ni wyddent mai yr Iesu ydoedd. Yna yr Iesu a ddywedodd wrthynt, O blant, a oes genych ddim bwyd? Hwythau a atebasant iddo, Nac oes. Yntau a ddywedodd wrthynt, Bwriwch y rhwyd i'r tu dehau i'r llong, a chwi a gewch. Hwy a fwriasant gan hyny; ac ni allent bellach ei thynu, gan y lliaws pysgod. Am hyny y dysgybl hwnw yr oedd yr Iesu yn ei garu a ddywedodd wrth Pedr, Yr Arglwydd yw."—IOAN xxi.

## TYWALLTIAD YR YSPRYD GLAN.

WEDI dylyn yr Iesu o'i gryd i'w groes, ei fedd, a'i esgyniad i'r nefoedd, yr ydym yn awr yn troi at hanes llwyddiant yr Efengyl dros ystod deng-mlynedd-ar-hugain ar ol y dygwyddiad hwnw. Ysgrifenwyd llyfr Actau yr Apostolion gan Luc, a chyfeiria ynddo at ei draethawd blaenorol. Wedi i'r hanesydd roddi cipolwg ar rai pynciau yn niwedd yr efengyl hòno, y mae yn myned yn mlaen gyda dygwyddiadau blynyddoedd dylynol. Ymgynullodd y dysgyblion yn nghyd, ar ol dewis Matthias yn apostol yn lle Judas, ar adeg y pentecost, yn mhen oddeutu deng niwrnod ar ol yr esgyniad. "Ac yr oeddent hwy oll yn gytun yn yr un lle. Ac yn ddisymwth y daeth swn o'r nef, megys gwynt nerthol yn rhuthro, ac a lanwodd yr holl dŷ lle yr oeddent yn eistedd. Ac ymddangosodd iddynt dafodau gwahanedig megys o dân, ac efe a eisteddodd ar bob un o honynt. A hwy oll a lanwyd â'r Yspryd Glân, ac a ddechreuasant lefaru â thafodau eraill, megys y rhoddes yr Yspryd iddynt ymadrodd. Ac wedi myned y gair o hyn, daeth y lliaws yn nghyd, ac a drallodwyd, o herwydd bod pob un yn eu clywed hwy yn llefaru yn ei iaith ei hun. Synodd hefyd ar bawb, a rhyfeddu a wnaethant, gan ddywedyd wrth eu gilydd, Wele, onid Galileaid yw y rhai hyn oll sydd yn llefaru? A pha fodd yr ydym ni yn eu clywed hwynt bob un yn ein hiaith ein hun, yn yr hon yn ganed ni?"—ACTAU ii.

## PEDR YN CYFARCH YR IUDDEWON.

Dechreuodd syndod y dynion hyn o wahanol wledydd a thafodau dòri allan mewn amheuaeth a dirmyg; oblegyd dywedai rhai o honynt, "Llawn o win melus ydynt." Nid oedd hyn ond esboniad gwrthun ar y peth, ac ni fuasai yn llai gwyrth, pe buasai yn wir, fod diod gref wedi cyfranu cryn ddwsin o ieithoedd at eu hiaith eu hunain, i ddynion anllythyrenog. "Eithr Pedr, yn sefyll gyda'r un-ar-ddeg, a gyfododd ei leferydd, ac a ddywedodd wrthynt, O wŷr o Iuddewon, a chwi oll sydd yn trigo yn Jerusalem, bydded hysbysol hyn i chwi, a chlust-ymwrandewch â'm geiriau: canys nid yw y rhai hyn yn feddwon, fel yr ydych chwi yn tybied; oblegyd y drydedd awr o'r dydd yw hi. Eithr hyn yw y peth a ddywedwyd trwy y prophwyd Joel, A bydd yn y dyddiau diweddaf (medd Duw) y tywalltaf o'm Hyspryd ar bob cnawd: a'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant, a'ch gwŷr ieuainc a welant weledigaethau, a'ch hynafgwyr a freuddwydiant freuddwydion: ac ar fy ngweision ac ar fy llaw-forwynion y tywalltaf o'm Hyspryd yn y dyddiau hyny; a hwy a brophwydant: a bydd, pwy bynag a alwo ar enw yr Arglwydd, a fydd cadwedig."—Actau ii.

---

## PEDR YN IACHAU Y DYN CLOFF.

"Pedr hefyd ac Ioan a aethant i fyny i'r deml yn nghyd, ar yr awr weddi, sef y nawfed. A rhyw ŵr cloff o groth ei fam a ddygid, yr hwn a ddodent beunydd wrth borth y deml, yr hwn a elwid Prydferth, i ofyn elusen gan y rhai a elai i mewn i'r deml. Yr hwn pan welodd efe Pedr ac Ioan ar fedr myned i mewn i'r deml, a ddeisyfodd gael elusen. A Phedr yn dal sylw arno, gydag Ioan, a ddywedodd, Edrych arnom ni. Ac efe a ddaliodd sylw arnynt, gan obeithio cael rhywbeth ganddynt. Yna y dywedodd Pedr, Arian ac aur nid oes genyf; eithr yr hyn sydd genyf, hyny yr wyf yn ei roddi i ti: Yn enw Iesu



PEDR YN CYFARCH YR IUDDEWON.



PEDR YN IACHAU Y DYN CLOFF.



LLADD ANANIAS A SAPPHIRA.

Grist o Nazareth, cyfod a rhodia ; ac yn ebrwydd ei draed ef a'i fferau a gadarnhawyd. A chan neidio i fyny, efe a safodd ac a rodiodd, ac a aeth gyda hwynt i'r deml, dan rodio, a neidio, a moli Duw. A'r holl bobl a'i gwelodd ef yn rhodio, ac yn moli Duw. Ac yr oeddent hwy yn ei adnabod, mai hwn oedd yr un a eisteddai am elusen wrth borth Prydferth y deml : a hwy a lanwyd o fraw a synedigaeth am y peth a ddygwyddasai iddo."—AOTAU iii.

---

## LLADD ANANIAS A SAPPHIRA.

YN nyddiau boreuol yr eglwys Gristionogol yr oedd un arferiad yn ffynu na osodwyd ar Gristionogion oesau dylynol, ac, yn wir, ni roddid ef yn orfodaeth ar neb yr amser hwnw—sef i'r rhai oedd a meddiannau ganddynt i'w gwerthu, a gosod eu gwerth mewn un drysorfa, fel y byddai yn gyffredin rhwng pawb. "Eithr rhyw ŵr, a'i enw Ananias, gyda Sapphirah ei wraig, a werthodd dir. Ac a ddarn-guddiodd beth o'r gwerth, a'i wraig hefyd o'r gyfrinach, ac a ddug rhyw gyfran, ac a'i gosododd wrth draed yr apostolion. Eithr Pedr a ddywedodd, Ananias, paham y llanwodd Satan dy galon di i ddywedyd celwydd wrth yr Yspryd Glân, ac i ddarn-guddio peth o werth y tir ? Tra yr ydoedd yn aros, onid i ti yr oedd yn aros ? ac wedi ei werthu, onid oedd yn dy feddiant di ? paham y gosodaist y peth hwn yn dy galon ? ni ddywedaist ti gelwydd wrth ddynion, ond wrth Dduw. Ac Ananias, pan glybu y geiriau hyn, a syrthiodd i lawr, ac a drengodd. A bu megys ysbaid tair awr, a'i wraig ef, heb wybod y peth a wnaethid, a ddaeth i mewn. A Phedr a atebodd iddi, Dywed di i mi, Ai er cymaint y gwerthasoch chwi y tir ? Hithau a ddywedodd, Ië, er cymaint. A Phedr a ddywedodd wrthi, Paham y cytunasoch i demtio Yspryd yr Arglwydd ? Ac yn y man hi a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a drengodd."—AOTAU v.

## YR ANGEL YN AGOR DRYSAU Y CARCHAR.

Nis gallesid dysgwyl i lywodraethwyr yr Iuddewon, y rhai a yrwyd gan eu cynddaredd a'u hannghrediniaeth i wrthod a chroeshoelio Mab Duw, edrych yn dawel a difater ar ei apostolion yn gwneyd gwyrthiau, ac yn casglu tyrfaoedd o'u hamgylch trwy eu gweithredoedd a'u hathrawiaeth. "A chwanegwyd atynt rai yn credu yn yr Arglwydd, lliaws o wŷr a gwragedd hefyd; hyd oni ddygent y rhai cleifion allan ar hyd yr heolydd, fel o'r hyn lleiaf y cysgodai cysgod Pedr hwynt. A'r archoffeiriad a gyfododd, a'r holl rai oedd gydag ef (yr hon yw heresi y Saduceaid) ac a lanwyd o genfigen, ac a ddodasant eu dwylaw ar yr apostolion, ac a'u rhoisant yn y carchar cyffredin. Eithr angel yr Arglwydd o hyd nos a agorodd ddrysau y carchar, ac a'u dug hwynt allan, ac a ddywedodd, Ewch, sefwch a lleferwch yn y deml wrth y bobl holl eiriau y fuchedd hon."—Actau v.

---

## YR APOSTOLION YN PREGETHU YN Y DEML.

"A phan glywsant, hwy a aethant yn foreu i'r deml, ac a athrawiaethasant. Eithr daeth yr archoffeiriad, a'r rhai oedd gydag ef, ac a alwasant yn nghyd y cynghor, a holl henuriaid plant yr Israel, ac a ddanfonasant i'r carchar i'w dwyn hwy gerbron. A'r swyddogion, pan ddaethant, ni chawsant hwynt yn y carchar; eithr hwy a ddychwelasant, ac a fynegasant, gan ddywedyd, Yn wir ni a gawsom y carchar wedi ei gau o'r fath sicraf, a'r ceidwaid yn sefyll allan o flaen y drysau: eithr pan agorasom, ni chawsom neb i mewn. A phan glybu yr archoffeiriad, a blaenor y deml, a'r offeiriaid penaf, yr ymadroddion hyn, ammau a wnaethant yn eu cylch hwy beth a ddeuai o hyn. Yna y daeth un ac a fynegodd iddynt, gan ddy-

wedŷd, Wele, y mae y gwŷr a ddodasoch chwi yn ngharchar, yn sefyll yn y deml, ac yn dysgu y bobl. Yna y blaenor, gyda'r swyddogion, a aeth ac a'u dug hwy heb drais, (oblegyd yr oedd arnynt ofn y bobl, rhag eu llabyddio.) Ac wedi eu dwyn, hwy a'u gosodasant o flaen y cynghor: a'r archoffeiriad a ofynodd iddynt, gan ddywedyd, Oni orchymynasom ni, gan orchymyn i chwi na athrawiaethech yn yr enw hwn? ac wele, chwi a lanwasoch Jerusalem â'ch athrawiaeth, ac yr ydych yn ewyllysio dwyn arnom ni waed y dyn hwn." Yna y safodd Pedr a'r apostolion eraill i fyny a dygasant dystiolaeth agored i ddwyfoldeb, adgyfodiad, a dyrchafiad Crist, gan hysbysu yn ëofn i'r cynghorwyr synedig;—"A nyni ydym ei dystion ef o'r pethau hyn, a'r Yspryd Glân hefyd, yr hwn a roddes Duw i'r rhai sydd yn ufyddhau iddo ef. A phan glywsant hwy hyny, hwy a ffromasant, ac a ymgynghorasant am eu lladd hwynt."—ACTAU V

---

## CURO YR APOSTOLION

NID oes dim amheuaeth nad oedd y gelynion llidiog hyn i Grist a'i grefydd, yn ddigon parod, pe buasai gallu yn eu dwylaw, i aberthu ar unwaith fywyd yr apostolion. Beth bynag, yn rhagluniaethol, rhwystrwyd hwy gan amryw bethau, ac yn arbenig, gan gynghor Gamaliel, dyn o radd uchel, o farn, ac o ddylanwad. Anogodd hwy i ymbwyllo, a pheidio arfer creulondeb, y buasai y peth yn profi ei hun, pa un ai o Dduw ai o ddynion ydoedd. "A chytuno âg ef a wnaethant. Ac wedi iddynt alw yr apostolion atynt, a'u curo, hwy a orchymynasant iddynt na lefarent yn enw yr Iesu, ac a'u gollyngasant ymaith. A hwy a aethant allan o olwg y cynghor yn llawen, am eu cyfrif hwynt yn deilwng i ddyoddef anmharch o achos ei enw ef."—ACTAU V.

## LLABYDDIO STEPHAN.

STEPHAN oedd un o'r seithwyr a etholwyd, yn ol gorchymyn yr apostolion, i arolygu achosion tymhorol yr eglwys, ac yn arbenig, y cyfraniadau i'r tylodion. Yr oedd yn llawn o ffydd, ac o'r Yspryd Glân. Gwnaeth lawer o ryfeddodau, a bu yn weinidog ffyddlon i'r eglwys, hyd nes y cyhuddwyd ef gerbron y cynghor o gabledd yn erbyn Moses a Duw. Amddiffynodd ei hun trwy adroddiad maith o'u hanesiaeth hynafol. Cyhuddodd hwy a'u tadau o wrthwynebu yr Yspryd Glân, lladd y prophwydi, tòri cyfraith Duw, ac yn ddiweddaf o lofruddio Crist. Ar ol yr araeth ëofn hon, dywedodd Stephan iddo weled y nefoedd yn agored, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Duw. Cyffrodd hyn eu cynddaredd yn aflywodraethus, ac, heb brawf nac oediad, hyrddiwyd y merthyr amyneddgar allan o'r ddinas, a llabyddiwyd ef yn greulon i farwolaeth ; yntau, yn llawn o ffydd, o lawenydd, a chariad, gan weddïo dros ei elynion, a hunodd yn yr Iesu.—ACTAU vii.

---

## ANGEL YN YMDDANGOS I PHYLIP.

ER fod yr Yspryd Glân wedi ei roddi yn gyffredinol i apostolion a dysgawdwyr boreuol yr eglwys, cawsant, ar achlysuron neillduol, amlygiadau ac awgrymiadau union-gyrchol o'r nefoedd i'w cyfarwyddo yn nghylch pynciau neillduol, a llwybrau eu dyledswydd. Dengys yr Ysgrythyrau fod y gwaith hwn wedi ei ymddiried i'r angelion ; "Onid ysprydion gwasanaethgar ydynt hwy oll?" A chofnoda y Testament Newydd, yn gystal â'r Hen, amryw enghreifftiau o'u hymddangosiad fel cenadau neu ddyddanwyr at garedigion. Pa un a ydynt yn awr yn ein cylchynu, ac yn ymladd o blaid ein lleshad âg ysprydion drwg sydd bob amser yn ceisio ein dinystr, nis gallwn ddyweyd gyda



LLABYDDIO STEPHAN.



ANGEL YN YMDDANGOS I PHYLIP.



PHYLIP A'R EUNUCH.

sicrwydd; ond nid yw yn ymddangos yn debygol mai gan y diafol a'i angelion yn unig mae dyfodfa gyson i'n byd, i fyned yn ol a blaen, i lawr ac i fyny ynddo. Yr oedd Phylip yn un o'r apostolion, a chafodd ei hyfforddi yn bennodol gan angel, fel yr ydym yn darllen—"Ac angel yr Arglwydd a lefarodd wrth Phylip, gan ddywedyd, Cyfod, a dos tua'r dehau, i'r ffordd sydd yn myned i waered o Jerusalem i Gaza, yr hon sydd annghyfanedd. Ac efe a gyfododd, ac a aeth."—ACTAU viii.

---

## PHYLIP A'R EUNUCH.

YMA cawn amcan y neges arbenig hon. "Ac wele gŵr o Ethiopia, eunuch galluog dan Candace brenines yr Ethiopiaid, yr hwn oedd ar ei holl drysor hi, yr hwn a ddaethai i Jerusalem i addoli; ac oedd yn dychwelyd, ac yn eistedd yn ei gerbyd, ac yn darllen y prophwyd Esaias. A dywedodd yr Yspryd wrth Phylip, Dos yn nes, a glŷn wrth y cerbyd yma. A Phylip a redodd ato, ac a'i clybu ef yn darllen y prophwyd Esaias; ac a ddywedodd, A wyt ti yn deall y pethau yr wyt yn eu darllen? Ac efe a ddywedodd, Pa fodd y gallaf, oddieithr i ryw un fy nghyfarwyddo i? Ac efe a ddymunodd ar Phylip ddyfod i fyny, ac eistedd gydag ef. A'r lle o'r Ysgrythyr yr oedd efe yn ei ddarllen, oedd hwn, Fel dafad i'r lladdfa yr arweiniwyd ef; ac fel oen gerbron ei gneifiwr yn fud, felly nid agorodd efe ei enau: yn ei ostyngiad, ei farn ef a dynwyd ymaith; eithr pwy a draetha ei genedlaeth ef? oblegyd dygir ei fywyd ef oddiar y ddaiar. A'r eunuch a ddywedodd, Atolwg i ti, am bwy y mae y prophwyd yn dywedyd hyn? am dano ei hun, ai am ryw un arall? A Phylip a agorodd ei enau, ac a ddechreuodd ar yr Ysgrythyr hòno, ac a bregethodd iddo yr Iesu."—ACTAU viii.

## PHYLIP YN BEDYDDIO YR EUNUCH.

MOR gynted ag y derbyniodd y dyn defosiynol hwn yr addysg angenrheidiol, teimlai awydd gwneyd y broffes orchymynedig, ac felly gyflawni pob cyfiawnder. "Ac fel yr oeddent yn myned ar hyd y ffordd, hwy a ddaethant at ryw ddwfr. A'r eunuch a ddywedodd, Wele ddwfr; beth sydd yn lluddias fy medyddio? A Phylip a ddywedodd, Os wyt ti yn credu â'th holl galon, fe a ellir. Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Yr wyf yn credu fod Iesu Grist yn Fab Duw. Ac efe a orchymynodd sefyll o'r cerbyd: a hwy a aethant i waered ill dau i'r dwfr, Phylip a'r eunuch: ac efe a'i bedyddiodd ef. A phan ddaethant i fyny o'r dwfr, Yspryd yr Arglwydd a gipiodd Phylip ymaith, ac ni welodd yr eunuch ef mwyach. Ac efe a aeth ar hyd ei ffordd ei hun yn llawen."—ACTAU viii.

---

## TROEDIGAETH PAUL.

PAUL, yr hwn ar y cyntaf a elwid Saul, ydoedd Iuddew o lwyth Benjamin, ac a ddygwyd i fyny yn y sect fanylaf o'r Phariseaid. Yr oedd yn ddyn o foesau da, ac o yspryd selog, ac yn ddallbleidiwr ffyrnig o blaid y grefydd Iuddewig cyn dyfod yn Gristion; yr oedd yn anrheithio yr eglwys yn mhob man, ac yn carcharu gwŷr a gwragedd. Cefnogai y rhai a labyddiasant Stephan. Ond rhyngodd bodd i Dduw gyfnewid calon y dyn hynod hwn, a throi ei egni a'i sel o blaid yr eglwys a erlidiodd, trwy gyfryngiad ac amlygiad arbenig o allu a phresenoldeb yr Iachawdwr. "A Saul eto yn chwythu bygythiau a chelanedd yn erbyn dysgyblion yr Arglwydd, a aeth at yr archoffeiriad, ac a ddeisyfodd ganddo lythyrau i Damascus, at y synagogau, fel os cai efe neb o'r ffordd hon, na gwŷr na gwragedd, y gallai efe eu dwyn i Jerusalem. Ac fel yr oedd efe yn ymdaith, bu iddo ddyfod yn agos i Damascus: ac yn ddisymwth llewyrchodd o'i amgylch oleuni o'r nef. Ac efe

a syrthiodd ar y ddaiar, ac a glybu lais yn dywedyd wrtho, Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i? Yntau a ddywedodd, Pwy wyt ti, Arglwydd? A'r Arglwydd a ddywedodd, Myfi yw Iesu, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid: caled yw i ti wingo yn erbyn y symbylau. Yntau gan grynu, ac a braw arno, a ddywedodd, Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur? A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Cyfod, a dos i'r ddinas, ac fe a ddywedir i ti pa beth sydd raid i ti ei wneuthur. A'r gwŷr oedd yn cyd-deithio ag ef a safasant yn fud, gan glywed y llais, ac heb weled neb. A Saul a gyfododd; a phan agorwyd ei lygaid, ni welai efe neb: eithr hwy a'i tywysasant ef erbyn ei law, ac a'i dygasant ef i mewn i Damascus."—ACTAU ix.

---

## PEDR YN CYFODI TABITHA O FEIRW.

"Ac yn Joppa yr oedd rhyw ddysgybles a'i henw Tabitha (yr hon os cyfieithir a elwir Dorcas), hon oedd yn llawn o weithredoedd da, ac elusenau y rhai a wnaethai hi. A dygwyddodd yn y dyddiau hyny iddi fod yn glaf, a marw: ac wedi iddynt ei golchi hwy a'i dodasant hi mewn lloft. Ac o herwydd bod Lyda yn agos i Joppa, y dysgyblion a glywsant fod Pedr yno; ac a anfonasant ddau ŵr ato ef, gan ddeisyf nad oedai ddyfod hyd atynt hwy. Ac wedi ei ddyfod, hwy a'i dygasant ef i fyny i'r lloft: a'r holl wragedd gweddwon a safasant yn ei ymyl ef yn wylo, ac yn dangos y peisiau a'r gwisgoedd a wnaethai Dorcas. Eithr Pedr, wedi eu bwrw hwy i gyd allan, a dodi ei liniau ar lawr, a weddïodd; a chan droi at y corph, a ddywedodd, Tabitha, cyfod. A hi a agorodd ei llygaid, ac a gododd yn ei heistedd. Ac efe a roddodd ei law iddi, ac a'i cyfododd hi i fyny. Ac wedi galw y saint a'r gwragedd gweddwon, efe a'i gosodd hi gerbron yn fyw."—ACTAU IX.

## ANGEL YN YMDDANGOS I CORNELIUS.

"Yr oedd rhyw ŵr yn Cesarea, a'i enw Cornelius, canwriad o'r fyddin a elwid yr Italaidd; gŵr defosiynol, ac yn ofni Duw, yn nghyd â'i holl dŷ, ac yn gwneuthur llawer o elusenau i'r bobl, ac yn gweddïo Duw yn wastadol. Efe a welodd mewn gweledigaeth yn eglur, yn nghylch y nawfed awr o'r dydd, angel Duw yn dyfod i mewn ato, ac yn dywedyd wrtho, Cornelius. Ac wedi iddo graffu arno, a myned yn ofnus, efe a ddywedodd, Beth sydd, Arglwydd? Ac efe a ddywedodd wrtho, Dy weddïau di a'th elusenau a ddyrchafasant yn goffadwriaeth gerbron Duw. Ac yn awr anfon wŷr i Joppa, a gŷr am Simon, yr hwn a gyfenwir Pedr: y mae efe yn lletya gydag un Simon, barcer; tŷ yr hwn sydd wrth y môr: efe a ddywed i ti pa beth sydd raid i ti ei wneuthur. A phan ymadawodd yr angel, Cornelius a alwodd ar ddau o dylwyth ei dŷ, a milwr defosiynol o'r rhai oedd yn aros gydag ef: ac wedi iddo fynegi iddynt y cwbl, efe a'u hanfonodd hwynt i Joppa."—Actau x.

---

## GWELEDIGAETH PEDR.

Trwy y weledigaeth hynod hon, ymddengys i Pedr gael ei ddysgu yn y ddau beth hyn ar unwaith; sef, yn gyntaf, nad oedd y gwahaniaeth Iuddewig mewn bwydydd i fod mwy; yr oedd ei dyben wedi darfod, gan nad oedd yr Arglwydd bellach yn neillduo had Abraham iddo ei hun; ac yn ail, dysgid yr Apostol na ddylasid cyfrif y Cenedloedd mwyach yn aflan, neu yn annghymwys i fwyta a chyd-ymddyddan yn gyfeillgar â'r Iuddewon. "Ac fe syrthiodd arno (Pedr) lewyg, ac efe a welai y nef yn agored, a rhyw lestr yn disgyn arno, fel llenllian fawr, wedi rhwymo ei phedair congl, a'i gollwng i waered hyd y



ANGEL YN YMDDANGOS I CORNELIUS.



GWELEDIGAETH PEDR.



ANANIAS YN ADFERU EI OLWG I PAUL.

ddaiar; yn yr hon yr oedd pob rhyw bedwar-carnolion y ddaiar, a gwyllt-filod, ac ymlusgiaid, ac ehediaid y nef. A daeth llef ato, Cyfod, Pedr; lladd, a bwyta. A Phedr a ddywedodd, Nid felly, Arglwydd: canys ni fwyteais i erioed ddim cyffredin neu aflan. A'r llef drachefn a ddywedodd wrtho yr ail waith, Y pethau a lanhaodd Duw, na alw di yn gyffredin. A hyn a wnaed dair gwaith; a'r llestr a dderbyniwyd drachefn i fyny i'r nef. Ac fel yr oedd Pedr yn ammau ynddo ei hun beth oedd y weledigaeth a welsai, wele y gwŷr a anfonasid oddiwrth Cornelius oeddent yn sefyll wrth y porth. A dywedodd yr Yspryd wrtho, Wele dri wŷr yn dy geisio di. Am hyny cyfod, disgyn, a dos gyda hwynt, heb ammau dim."—Actau x.

---

## ANANIAS YN ADFERU EI OLWG I PAUL.

"A Saul a fu dridiau heb weled, ac ni wnaeth na bwyta nac yfed. Ac yr oedd rhyw ddysgybl yn Damascus, a'i enw Ananias: a'r Arglwydd a ddywedodd wrtho ef mewn gweledigaeth, Ananias. Yntau a ddywedodd, Wele fi, Arglwydd. A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Cyfod, a chais un a'i enw Saul, o Tarsus: canys wele y mae yn gweddïo. Yna yr atebodd Ananias, O Arglwydd, mi a glywais gan lawer am y gŵr hwn, faint o ddrygau a wnaeth efe i'th saint. A dywedodd yr Arglwydd wrtho, Dos ymaith: canys y mae hwn yn llestr etholedig i mi, i ddwyn fy enw gerbron y Cenedloedd, a breninoedd, a phlant Israel. Ac Ananias a aeth ymaith, ac a aeth i mewn i'r tŷ; ac wedi dodi ei ddwylaw arno, efe a ddywedodd, Y brawd Saul, yr Arglwydd a'm hanfonodd i (Iesu yr hwn a ymddangosodd i ti ar y ffordd y daethost) fel y gwelych drachefn, ac y'th lanwer â'r Yspryd Glân: ac efe a gafodd ei olwg yn y man."—Actau ix.

## PAUL YN DIANC O DAMASCUS.

NI chollodd y dysgybl newydd ac enwog hwn i grefydd Crist ddim amser gyda chyhoeddi ei hathrawiaethau i'r bobl, ac nid hir y bu cyn iddo ef ei hun ddyfod yn wrthddrych yr erledigaeth yr oedd ef ychydig cyn hyny yn brif offeryn i'w dwyn yn mlaen. "A bu Saul gyda'r dysgyblion oedd yn Damascus dalm o ddyddiau. Ac yn ebrwydd yn y synagogau efe a bregethodd Grist, mai efe yw Mab Duw. A phawb a'r a'i clybu ef, a synasant, ac a ddywedasant, Onid hwn yw yr un oedd yn dyfetha yn Jerusalem y rhai a alwent ar yr enw hwn, ac a ddaeth yma er mwyn hyn, fel y dygai hwynt yn rhwym at yr archoffeiriaid? Eithr Saul a gynyddodd fwy-fwy o nerth, ac a orchfygodd yr Iuddewon oedd yn preswylio yn Damascus, gan gadarnhau mai hwn yw Crist. Ac wedi cyflawni llawer o ddyddiau, cyd-ymgynghorodd yr Iuddewon i'w ladd ef. Eithr eu cyd-fwriad hwy a wybuwyd gan Saul: a hwy a ddysgwyliasant y pyrth ddydd a nos, i'w ladd ef. Yna y dysgyblion a'i cymerasant ef o hyd nos, ac a'i gollyngasant i waered dros y mur mewn basged."—ACTAU ix.

---

## HEROD YN LLADD IAGO.

YR Iago hwn ydoedd fab Zebedëus, a brawd Ioan, un o'r tri apostol a anrhydeddwyd gan Grist â'r fath gyfeillgarwch. Cyflawnodd ei farwolaeth trwy y cleddyf brophwydoliaeth ein Harglwydd, fel y mae yn ysgrifenedig yn yr ugeinfed bennod o Matthew, pan ddaeth mam meibion Zebedëus ato i geisio am eu dyrchafiad. "Diau yr yfwch o'm cwpan, ac y'ch bedyddir a'r bedydd y'm bedyddir ag ef." "Ac yn nghylch y pryd hwnw yr estynodd Herod frenin ei ddwylaw i ddrygu rhai o'r eglwys. Ac efe a laddodd Iago brawd Ioan â'r cleddyf. A phan welodd fod yn dda gan yr Iuddewon hyny, efe a chwanegodd ddala

Pedr hefyd. Yr hwn, wedi ei ddal, a roddes efe yn ngharchar, ac a'i traddododd at bedwar pedwariaid o filwyr i'w gadw; gan ewyllysio, ar ol y Pasc, ei ddwyn ef allan at y bobl." Wyr oedd yr Herod hwn i Herod Fawr, a nai yr Herod dorodd ben Ioan Fedyddiwr. Yr oedd yr holl Herodiaid yn wir yn nodedig am eu creulondeb. Dywedir fod llofruddiaeth Iago a Stephan, mor fuan ar ol marwolaeth ein Harglwydd, yn egluro gwroldeb a ffydd berffaith yr apostolion yn nwyfoldeb eu cenadaeth; heb hyn gyrasid hwynt oddiwrth eu hamcan, wrth gael nad oedd hyd y nod eu gallu gwyrthiol yn eu dyogelu rhag marw trwy gleddyf eu gelynion.—ACTAU xii.

---

## ANGEL YN GWAREDU PEDR.

ER ei fod wedi ei awgrymu yn eglur i Pedr ei fod i selio tystiolaeth yr Iesu â'i waed, a thrwy hyny ogoneddu Duw, nid oedd amser ei ymadawiad wedi dyfod eto; yr oedd llawer o lafur, o ddyoddefiadau, ac o ddefnyddioldeb yn aros yr Apostol enwog cyn hyny. Felly, siomwyd Herod y tro hwn yn ei amcan i gymeryd ymaith ei fywyd, mewn modd tra hynod, ac agorodd drysau y carchar yn wyrthiol, fel y gwnaethent o'r blaen. "Felly Pedr a gadwyd yn y carchar: eithr gweddi ddyfal a wnaethpwyd gan yr eglwys at Dduw drosto ef. A phan oedd Herod a'i fryd ar ei ddwyn ef allan, y nos hòno yr oedd Pedr yn cysgu rhwng dau filwr, wedi ei rwymo â dwy gadwyn. Ac wele, angel yr Arglwydd a safodd gerllaw, gan ddywedyd, Cyfod yn fuan. A'i gadwyni ef a syrthiasant oddiwrth ei ddwylaw; ac efe a aeth allan, ac a'i canlynodd ef (yr angel): ac nis gwybu mai gwir oedd y peth a wnaethid gan yr angel; eithr yr oedd yn tybied mai gweled gweledigaeth yr oedd."—ACTAU xii.

## YR ANGEL YN TARO HEROD.

Llidiodd y gormeswr hwn yn fawr pan ddeallodd fod ei garcharor wedi dianc, a chan sychedu am waed, gorchymynodd roddi y ceidwaid i farwolaeth. Wedi y siomedigaeth hon, ymadawodd â Jerusalem, a thrigodd yn Cesarea, hyd nes, yn nghanol ei falchder, ei ogoniant, a'i droseddau, i farn Duw ei oddiweddyd, a dial marwolaeth Iago a llofruddiaeth fwriadol Pedr mewn modd dychrynllyd. Yr oedd yn darparu i fyned i ryfel yn erbyn Tyrus a Sidon, oddiar ryw wag-esgusodion. Anfonodd y trigolion hyn eu cenadau ato i geisio heddwch, ac ar ddiwrnod pennodedig, gwnaethant hyny gyda'r fath weniaith gwrthun, fel y dywedent am araith Herod mai llais duw ac nid dyn ydoedd. "Ac allan o law y tarawodd angel yr Arglwydd ef, am na roisai y gogoniant i Duw: a chan bryfed yn ei ysu, efe a drengodd." Yr oedd Herod wedi bod yn rhy hir yn mysg yr Iuddewon i fod heb ddysgu rhywbeth oddiwrth eu crefydd am y gwir Dduw, ac am ei eiddigedd wrth roddi anrhydedd dwyfol i arall. Felly yr oedd ei euogrwydd wrth dderbyn yr addoliad annuwiol yn fwy.—Actau xii.

---

## PAUL YN IACHAU Y CLOFF.

Yr oedd Saul, yr hwn a elwid yn awr Paul, yn parhau i roddi prawf cyflawn o'i weinidogaeth a'i apostoliaeth, yn foddlon i dreulio ac ymdreulio, i lafurio, i bregethu, ac i ddyoddef yn yr ymgymeriad mawr ag yr oedd yn awr wedi cysegru ei fywyd iddo. "A dygwyddodd yn Iconium iddynt (Paul a Barnabas) fyned yn nghyd i synagog yr Iuddewon, a llefaru felly, fel y credodd lliaws mawr o'r Iuddewon ac o'r Groegwyr hefyd. A phan wnaethpwyd rhuthr i'w hanmherchi hwy, ac i'w llabyddio, hwythau a ddeallasant hyn, ac a ffoisant i Lystra a Derbe, ac yno



YR ANGEL YN TARO HEROD.



PAUL YN IACHAU Y CLOFF.



LLABYDDIO PAUL A'I YRU O'R DDINAS.

y buant yn efengylu. Ac yr oedd gŵr yn eistedd yn Lystra yn ddiffrwyth ei draed, yr hwn oedd gloff o groth ei fam, ac ni rodiasai erioed. Hwn a glybu Paul yn llefaru; yr hwn wrth edrych yn graff arno, a gweled fod ganddo ffydd i gael iechyd, a ddywedodd â llef uchel, Sâf ar dy draed yn uniawn. Ac efe a neidiodd i fyny, ac a rodiodd. A phan welodd y bobloedd y peth a wnaethai Paul, hwy a godasant eu llef, gan ddywedyd, Y duwiau yn rhith dynion a ddisgynasant atom, ac a fynasent aberthu, a'r apostolion pan glywsant hyny, a rwygasant eu dillad, ac a neidiasant yn mhlith y bobl, gan lefain, a dywedyd, Ha wŷr, paham y gwnewch chwi y pethau hyn? dynion hefyd ydym ninau, yn gorfod goddef fel chwithau, ac yn pregethu i chwi ar i chwi droi oddiwrth y pethau gweigion yma at Dduw byw."—ACTAU xiv.

---

## LLABYDDIO PAUL A'I YRU O'R DDINAS.

MOR wamal yw dyn, ac mor helbulus oedd bywyd yr apostolion, fel yr oedd y rhai a gyfrifid yn awr yn dduwiau, a dim llai duwiau na Jupiter a Mercurius, yn y man yn cael eu llabyddio â cheryg, nes yr oedd eu bywyd mewn perygl. "A daeth yno Iuddewon o Antiochia ac Iconium, a hwy a berswadiasant y bobl; ac wedi llabyddio Paul, a'i llusgasant ef allan o'r ddinas, gan dybied ei fod ef wedi marw. Ac fel yr oedd y dysgyblion yn sefyll o'i amgylch, efe a gyfododd, ac a aeth i'r ddinas: a thranoeth efe a aeth allan, efe a Barnabas, i Derbe." Cyfeiria yr Apostol at y driniaeth greulon hon yn yr unfed bennod ar ddeg o'r Ail Epistol at y Corinthiaid, "Unwaith y'm llabyddiwyd;" a thrachefn yn y drydydd bennod o'r Ail Epistol at Timotheus, "Yr erlidiau, y dyoddefiadau, y rhai a ddygwyddasant i mi yn Antiochia, yn Iconium, a yn Lystra."—ACTAU xiv.

## TROEDIGAETH LYDIA.

"Ac ar y dydd Sabbath ni a aethom allan o'r ddinas i làn afon, lle y byddid arferol o weddïo ; ac ni a eisteddasom, ac a lefarasom wrth y gwragedd a ddaethant yn nghyd. A rhyw wraig a'i henw Lydia, un yn gwerthu porphor, o ddinas y Thyatiriaid, yr hon oedd yn addoli Duw, a wrandawodd ; yr hon yr agorodd yr Arglwydd ei chalon, i ddal ar y pethau a leferid gan Paul. Ac wedi ei bedyddio hi a'i theulu, hi a ddymunodd arnom, gan ddywedyd, Os barnasoch fy mod i yn ffyddlawn i'r Arglwydd, deuwch i mewn i'm tŷ, ac arhoswch yno. A hi a'n cymhellodd ni."—ACTAU xvi.

---

## BWRW ALLAN YSPRYD DEWINIAETH.

A DYGWYDDODD a ni yn myned i weddïo, i ryw lances, yr hon oedd ganddi yspryd dewiniaeth, gyfarfod â ni ; yr hon oedd yn peri llawer o elw i'w meistriaid, wrth ddywedyd dewiniaeth. Hon a ddylynodd Paul a ninau, ac a lefodd, gan ddywedyd, Y dynion hyn ydynt weision y Duw goruchaf, y rhai sydd yn mynegi i chwi ffordd iachawdwriaeth. A hyn a wnaeth hi dros ddyddiau lawer. Eithr Paul yn flin ganddo a drodd, ac a ddywedodd wrth yr yspryd, Yr ydwyf yn gorchymyn i ti yn enw Iesu Grist, fyned allan o honi. Ac efe a aeth allan yr awr hòno. A phan welodd ei meistriaid hi, fyned gobaith eu helw hwynt ymaith, hwy a ddaliasant Paul a Silas, ac a'u llusgasant hwy i'r farchnadfa, at y llywodraethwyr ; ac a'u dygasant hwy at y swyddogion, ac a ddywedasant, Y mae y dynion hyn, y rhai ydynt Iuddewon, yn llwyrgythryblio ein dinas ni, ac yn dysgu defodau y rhai nid ydyw rydd i ni eu derbyn, na'u gwneuthur, y rhai ydym Rufeinwyr. A'r dyrfa a safodd i fyny yn nghyd yn eu herbyn hwy ; a'r swyddogion gan rwygo eu dillad, a orchymynasant eu curo hwy â gwïail. Ac wedi rhoddi



TROEDIGAETH LYDIA.



BWRW ALLAN YSPRYD DEWINIAETH.



PAUL A SILAS YN Y CARCHAR, A'U RHYDDHAD.

gwïalenodiau lawer iddynt, hwy a'u taflasant i garchar; gan orchymyn i geidwad y carchar eu cadw hwy yn ddyogel." Mae yn sŷn fod dynion o radd a safle uchel, y rhai nas gallasent fod yn anwybodus o'r gwyrthiau a wnelid yn barhaus gan apostolion Iesu Grist, yn tybied fod eu hymddygiad yn haeddu rhwymau a fflangellau; neu y gallasai gormes arglwyddaidd awdurdod ddynol, neu hyd y nod angau ei hun, attal cynydd crefydd, oedd mor amlwg wedi ei chychwyn, ei chynal, a'i bendithio, oddi uchod. Y rhyfeddod yw, na fuasai dychryn ar erlidwyr yr eglwys, rhag i'r gallu dwyfol oedd yn gweithio mor nerthol trwy yr apostolion, er esmwythâu cyflwr y rhai oedd yn dyoddef, gael ei droi yn eu herbyn hwy, a chyhoeddi eu dinystr gyda llef taran. Ond y cyfryw yw natur hynaws y grefydd gristionogol, a'r cyfryw oedd amynedd eu dysgawdwyr rhagorol cyntaf dan eu dyoddefiadau, fel na cheir ond ychydig o esiamplau trwy yr holl Destament Newydd, o ddialgarwch na melldithiad, er cael cymhelliadau cryfaf i hyny.—ACTAU xvi.

---

## PAUL A SILAS YN Y CARCHAR, A'U RHYDDHAD.

WEDI i geidwad y carchar gael eu gofal, taflodd hwy i'r carchar nesaf i mewn, a rhoddodd eu traed yn sicr yn y cyffion. "Ac ar haner nos Paul a Silas oedd yn gweddio, ac yn canu mawl i Dduw: a'r carcharorion a'u clywsant hwy. Ac yn ddisymwth y bu daiargryn mawr, hyd oni siglwyd seiliau y carchar: ac yn ebrwydd yr holl ddrysau a agorwyd, a rhwymau pawb a aethant yn rhyddion. A phan ddeffrodd ceidwad y carchar, a chanfod drysau y carchar yn agored, efe a dynodd ei gleddyf, ac a amcanodd ei ladd ei hun; gan dybied ffoi o'r carcharorion ymaith. Eithr Paul a lefodd â llef uchel, gan ddywedyd, Na wna i ti dy hun ddim niwed: canys yr ydym ni yma oll."—ACTAU xvi.

## CEIDWAD Y CARCHAR WRTH DRAED PAUL.

Ond ni wnaeth y carcharorion enwog hyn, fel y gwnaethai eraill yn ddiau, wedi cael y fath gyfleusdra i ddianc. Rhaid nad oedd y dynion na fynent ffoi wedi i'r cadwynau syrthio oddiam danynt, a drysau y carchar agor o'u blaen, yn ddrwg-weithredwyr, ac ni ddylasent gael eu darostwng dan y fath driniaethau. Dygodd y dygwyddiad hwn ddychryn nid bychan ar eu gorthrymwyr annghyfiawn. Cymerodd y cyfnewidiad rhyfeddaf le yn achos ceidwad y carchar; trowyd y pagan tywyll yn Gristion. "Ac wedi galw am oleu, efe a ruthrodd i mewn, ac yn ddychrynedig efe a syrthiodd i lawr gerbron Paul a Silas, ac a'u dug hwynt allan, ac a ddywedodd, O feistriaid, beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig? A hwy a ddywedasant, Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi, ti a'th deulu. A hwy a draethasant iddo air yr Arglwydd, ac i bawb oedd yn ei dŷ ef. Ac efe a'u cymerth hwy yr awr hòno o'r nos, ac a olchodd eu briwiau; ac efe a fedyddiwyd, a'r eiddo oll yn y man. Ac wedi iddo eu dwyn hwynt i'w dŷ, efe a osododd fwyd ger eu bron hwy, ac a fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu."—Actau xvi.

---

## PAUL YN GWEITHIO PEBYLL.

Mae hwn yn beth na chyfeirir ato yn fynych mewn egluriadau o'r Beibl; ond y mae llawer o addysg yn ddiammau yn y ffaith hon a gofnodir o iselfrydedd yr Apostol tuag at Dduw a dyn, a hyny yn gysylltiedig â'i benderfyniad uchel ac anrhydeddus i beidio gwneyd masnach o'r efengyl: er ei fod yn barhaus yn dal ei hawl i fyw wrth yr efengyl, ac i fedi o bethau daiarol ei wrandawyr—



CEIDWAD Y CARCHAR WRTH DRAED PAUL.



PAUL YN GWEITHIO PEBYLL



GWNEYD GWYRTHIAU TRWY DDILLAD PAUL.

angenrheidiau o leiaf—yn gyfnewid am y bendithion ysprydol annhrisiadwy oedd ef wedi bod yn offerynol i'w dwyn i'w heneidiau hwynt. Cyfeiria yr Apostol at ei alwedigaeth dymhorol droion yn ei Epistolau. Dylem gofio fod Paul yn ddyn o radd uchel o ddysgeidiaeth, ac nid wedi ei godi i fyny mewn unrhyw grefft; a phan gofiom ei sefyllfa uchel fel Apostol, wedi ei ddonio â gallu i wneyd gwyrthiau er cadarnhau ei genadwriaeth ddwyfol, ymddengys ei ostyngeiddrwydd, ei amynedd, a'i lafur, yn llawer mwy nodedig a rhagorol.—Actau xviii.

---

## GWNEYD GWYRTHIAU TRWY DDILLAD PAUL.

Gan fod llawer o'r Iuddewon wedi caledu yn eu hanngrhediniaeth, ac yn dyweyd yn ddrwg am bregethwyr y groes, gadawodd Paul hwy dros amser, ac a neillduodd y dysgyblion, gan ymresymu o blaid y ffydd mewn ysgoldy neillduol, neu neuadd dduwinyddol, a fwriedid i ddarllen darlithiau ar grefydd. Ac er rhoddi mwy o effeithiolrwydd a llwyddiant i wirioneddau Cristionogaeth, parhai yr Arglwydd i wneyd gwyrthiau rhagorol trwy ddwylaw Paul. Nid yn unig iacheid y rhai a ddygid ato, ond dygid napcynau neu foledau oddiwrth ei gorph at y cleifion, a'r clefydau, pa mor gyndyn a pheryglus bynag, a ymadawai â hwynt, a'r ysprydion drwg a aent allan o honynt mor gynted ag y cyffyrddent â'r dilledyn. Aeth y sôn am hyn ar led yn mysg y bobl, a dyrchafodd glod yr Apostol yn uchel, ac ychwanegodd awdurdod tystiolaeth ddwyfol i'r hyn a ddysgai i'r Ephesiaid. Gwelwn wrth y pethau hyn trwy gynifer o wahanol ffyrdd y mae Yspryd Duw yn gweithredu ar wahanol bersonau. Cyffyrddwyd â Lydia gan ddylanwad tawel, fel gwlith y nefoedd; ond yr oedd yn rhaid cael daiargryn i ysgwyd meddwl cyndyn ceidwad y carchar.—Actau xix.

## LLOSGI Y LLYFRAU DEWINIAETH.

Cyffrodd gwyrthiau yr apostolion deimladau amrywiol yn meddyliau dynion ar y pryd. Buont i rai yn foddion iachawdwriaeth, trwy eu dwyn i gredu yr athrawiaeth a ddysgid. Amheuai rhai ; gwatwarai eraill ; a chyffroid ychydig i eiddigedd, ac i chwennychu y cyffelyb allu, gan geisio, fel Simon Magus ei bwrcasu âg arian, ac fel rhai Iuddewon crwydraidd, "a gymerasant arnynt enwi uwchben y rhai oedd ag ysprydion drwg ynddynt, enw yr Arglwydd Iesu." Ond tröai hyny allan, nid yn unig yn aflwyddiannus, ond yn dra pheryglus iddynt eu hunain, oblegyd dywedai yr ysprydion drwg,—"Yr Iesu yr wyf yn ei adnabod, a Phaul a adwaen ; eithr pwy ydych chwi? A'r dyn yr hwn yr oedd yr yspryd drwg ynddo, a ruthrodd arnynt, ac a'u gorchfygodd, hyd oni ffoisant hwy allan o'r tŷ hwnw, yn noethion, ac yn archolledig. A hyn fu hysbys gan yr holl Iuddewon a'r Groegiaid hefyd, y rhai oedd yn preswylio yn Ephesus ; ac ofn a syrthiodd arnynt oll ; a llawer o'r rhai a gredasant a ddaethant, ac a gyffesasant, ac a fynegasant eu gweithredoedd. Llawer hefyd o'r rhai a fuasai yn gwneuthur rhodreswaith, a ddygasant eu llyfrau yn nghyd, ac a'u llosgasant yn ngŵydd pawb : a hwy a fwriasant eu gwerth hwy, ac a'i cawsant yn ddengmil a deugain o ddarnau arian." Swm, fel y dywedir, yn cynwys chwech neu saith mil o bunau o'n harian ni.—Actau xix.

---

## EUTYCHUS YN SYRTHIO O'R FFENESTR.

Ar y dydd cyntaf o'r wythnos, pan ymgasglai y dysgyblion, yn ol eu harfer, i dòri bara (sef cyfranogi o Swpper yr Arglwydd), gan fod Paul i ganu yn iach â'r dysgyblion yno dranoeth, efe a bregethodd gyda nerth mawr, ac a barhaodd yn ymadrodd hyd haner nos. Ac yr oedd llawer



LLOSGI Y LLYFRAU DEWINIAETH.



EUTYCHUS YN SYRTHIO O'R FFENESTR.



GYRU PAUL ALLAN O'R DEML.

o lampau yn y llofft lle yr oeddent wedi ymgasglu ; oblegyd beth bynag a awgrymai malais eu gelynion, ni chynaliai y Cristionogion eu cyfarfodydd yn y tywyllwch, ond cymerent bob gofal i ochelyd rhith drygioni, a phob amgylchiad allai ddwyn bai neu ddrwgdybiaeth yn eu herbyn. Ond parai hyn iddynt gadw y ffenestri yn agored oblegyd gwres yr ystafell. A rhyw ŵr ieuanc o'r enw Eutychus, yr hwn a eisteddai mewn ffenestr agored, a syrthiodd i drwmgwsg ; a thra yr oedd Paul yn ymresymu yn hir, ac yntau wedi ei orchfygu gan gwsg, syrthiodd i lawr o'r drydedd lofft, a chyfodwyd ef i fyny yn farw. "A Phaul a aeth i waered, ac a syrthiodd arno ef, a chan ei gofleidio, a ddywedodd, Na chyffroed arnoch : canys y mae ei enaid ynddo ef. A hwy a ddygasant y llanc yn fyw, ac a gysurwyd yn ddirfawr."—Actau xx.

---

## GYRU PAUL ALLAN O'R DEML.

" Ac fel yr oeddem yn aros yn Cesarea ddyddiau lawer, daeth i waered o Judea brophwyd a'i enw Agabus. Ac wedi dyfod atom, a chymeryd gwregys Paul, a rhwymo ei ddwylaw ef a'i draed, efe a ddywedodd, Y gŵr bīau y gwregys hwn a rwym yr Iuddewon fel hyn yn Jerusalem, ac a'i traddodant i ddwylaw y Cenedloedd ; nyni a ddeisyfasom (ar Paul) nad elai efe i fyny i Jerusalem. Eithr Paul a atebodd, Beth a wnewch chwi yn wylo, ac yn tòri fy nghalon i ? canys parod wyf fi nid i'm rhwymo yn unig, ond i farw hefyd yn Jerusalem, er mwyn enw yr Arglwydd Iesu. A nyni a aethom i fyny i Jerusalem ; a phan oedd y saith niwrnod ar ddarfod, yr Iuddewon oeddent o Asia, pan welsant ef yn y deml, a derfysgasant yr holl bobl, ac a ddodasant ddwylaw arno. A chynhyrfwyd y ddinas oll, a'r bobl a redodd yn nghyd : ac wedi ymaflyd yn Paul, hwy a'i tynasant ef allan o'r deml."—Actau xxi.

## PAUL YN HWYLIO I ITALI.

CEIR yr achos o'r fordaith hon yn y chweched bennod ar hugain o'r Actau. Paul, wedi ei gyhuddo gan yr Iuddewon o amryw droseddau a chabledd, o ba rai yr oedd yn hollol ddieuog, a ddygwyd gerbron Ffestus, y llywodraethwr Rhufeinig. Gwadodd Paul gyhuddiad yr Iuddewon, a phan fynai Ffestus ei anfon ef i fyny i Jerusalem i'w farnu am y pethau hyn, yn ol dymuniad yr Iuddewon, y rhai a fwriadent ei ladd ef ar y ffordd, dywedodd Paul yn hyf, gan nad oedd wedi gwneyd cam â'r Iuddewon, na ddylasai gael ei draddodi i'w dwylaw; felly apeliodd at Cesar. Yr amser hwn daeth Agrippa, a'i chwaer Bernice, i dalu ymweliad â Ffestus, a hysbyswyd hwy o'r achos. Felly gosododd Paul ei achos o flaen Agrippa, ac, a adroddodd iddo lawer o hanes ei fywyd a'i grefydd. Cafodd hyn y fath effaith ar y brenin Agrippa, fel y cyffesodd ei fod agos yn Gristion, ac y gallasai Paul gael ei ryddhau oni bai iddo apelio at Cesar. "A phan gytunwyd forio o honom ymaith i'r Ital, hwy a roisant Paul, a rhyw garcharorion eraill, at ganwriad a'i enw Julius, o fyddin Augustus. Ac wedi dringo i long o Adramytium, ar fedr hwylio i dueddau Asia," &c.—ACTAU xxvii.

---

## Y FORDAITH DYMHESTLOG.

NI fu y dwylaw yn hir ar y môr cyn i Paul eu cynghori, gan ddywedyd, "Ha wyr, yr wyf yn gweled y bydd yr hynt hon yn nghyd â sarhad a cholled fawr, nid yn unig am y llwyth a'r llong, eithr am ein heinioes ni hefyd. Eithr y canwriad a gredodd i lywydd ac i berchen y llong, yn fwy nag i'r pethau a ddywedid gan Paul. Ond cyn nemawr cyfododd yn ei herbyn hi wynt tymhestlog, yr hwn a elwir Euroclydon. A ni yn flin iawn arnom gan y

dymestl, dranoeth hwy a ysgafnasant y llong. A'r trydydd dydd bwriasom â'n dwylaw ein hunain daclau y llong allan. A phan nad oedd na haul na sêr yn ymddangos dros lawer o ddyddiau, a thymestl nid bychan yn pwyso arnom, pob gobaith y byddem cadwedig a ddygwyd oddi arnom o hyny allan." Cynghorodd Paul yn awr y dwylaw i gymeryd lluniaeth ac aros yn y llong, gan ddywedyd ei fod wedi ei hysbysu iddo trwy weledigaeth, na fyddai colled am einioes neb yn yr hynt hòno; a rhybuddiodd hwy gyda llaw fod llongddrylliad yn anocheladwy. Talai y morwyr yn awr fwy o sylw i gynghor eu carcharor. Cymerasant luniaeth, am yr hwn yr oeddent mewn mawr angen, bwriasant eu llwyth gwenith i'r môr, ac ymbarotoisant ar gyfer y dygwyddiad rhag-ddywededig.—ACTAU xxvii.

---

## PAUL AC ERAILL YN DYFOD I DIR.

"A PHAN aeth hi yn ddydd, nid oeddent yn adnabod y tir: ond hwy a ganfuant ryw gilfach a glàn iddi; i'r hon y cynghorasant, os gallent, wthio y llong iddi. Ac wedi iddynt godi yr angorau, hwy a ymollyngasant i'r môr; ac wedi syrthio ar le deuforgyfarfod, hwy a wthiasant y llong. a'r pen blaen iddi a lynodd, ac a safodd yn ddiysgog; eithr y pen ôl a ymddatododd gan nerth y tònau. A chynghor y milwyr oedd, ladd y carcharorion, rhag i neb o honynt nofio allan, a dianc ymaith. Ond y canwriad, yn ewyllysio cadw Paul, a rwystrodd iddynt eu hamcan; ac a archodd i bawb a'r a fedrai nofio, ymfwrw yn gyntaf i'r môr, a myned allan i'r tir: ac i'r lleill, rhai ar ystyllod, ac eraill ar ryw ddrylliau o'r llong. Ac felly y dygwyddodd ddyfod o bawb i dir yn ddiangol."—ACTAU xxvii.

## PAUL YN YSGWYD Y WIBER ODDIWRTH EI LAW.

"Ac wedi iddynt ddianc, yna y gwybuant mai Melita y gelwid yr ynys. A'r barbariaid a ddangosasant i ni fwyneidd-dra nid bychan: oblegyd hwy a gyneuasant dân, ac a'n derbyniasant ni oll oherwydd y gawod gynrychiol, ac oherwydd yr oerfel. Ac wedi i Paul gynull yn nghyd lawer o friw-wydd, a'u dodi ar y tân, gwiber a ddaeth allan o'r gwres, ac a lynodd wrth ei law ef. A phan welodd y barbariaid y bwystfil yn nghrog wrth ei law ef, hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Yn sicr llawruddiog yw y dyn hwn, yr hwn, er ei ddianc o'r môr, ni adawodd dialedd iddo fyw. Ac efe a ysgydwodd y bwystfil i'r tân, ac ni oddefodd ddim niwed. Ond yr oeddent hwy yn dysgwyl iddo ef chwyddo, neu syrthio yn ddisymwth yn farw. Eithr wedi iddynt hir-ddysgwyl, a gweled nad oedd dim niwed yn dygwydd iddo, hwy a newidiasant eu meddwl, ac a ddywedasant mai duw oedd efe." Yma gwelwn gyfryngiad amlwg a phrydlawn Rhagluniaeth, heb yr hwn y buasai gwaredigaeth Paul o beryglon y dyfnder yn gwbl ofer. Ac ni wyddai y bobl agored a charedig, ond anwybodus, hyn, am le canol i osod y dyn hwn ynddo rhwng llofrudd a duw, oblegyd y peth a ddygwyddodd gerbron eu llygaid. Ymostyngasant wedi hyny i gael eu dysgu yn well.—ACTAU xxviii.

---

## PAUL YN IACHAU TAD PUBLIUS.

"YN nghylch y man hwnw yr oedd tiroedd i benaeth yr ynys, a'i enw Publius, yr hwn a'n derbyniodd ni, ac a'n lletyodd dridiau yn garedig. A dygwyddodd, fod tad Publius yn gorwedd yn glaf o gryd a gwaedlif: at yr hwn wedi i Paul fyned i mewn, a gweddïo, efe a ddododd ei


PAUL YN YSGWYD Y WIBER ODDIWRTH EI LAW.


PAUL YN IACHAU TAD PUBLIUS.


BRODYR O RUFAIN YN CYFARFOD PAUL.

ddwylaw arno ef, ac a'i hiachaodd." Cafodd Publius penaeth yr ynys a'r trigolion eraill eu gwobrwyo yn dda am eu caredigrwydd i'r dyeithriaid yn eu caledi, yn yr iechyd a ddygwyd i gleifion yn yr amrywiol deuluoedd; a chynyddodd eu caredigrwydd tuag atynt yn naturiol gyda'r profiad a'r gallu gwyrthiol a weithredid gan Paul. Nid ydym i ddeall wrth yr enw "barbariaid," a roddir ar y trigolion, ond yn unig mai nid Groegiaid, neu Rufeiniaid oeddent. Rhoddai y cenedloedd moesgar hyn yr enw barbariaid i bawb ond eu hunain. Ac nid yw yr hanesydd santaidd ond defnyddio yr ymadrodd arferedig.—ACTAU xxviii.

---

## Y BRODYR O RUFAIN YN CYFARFOD PAUL AR Y FFORDD.

WEDI treulio peth amser yn Melita, ymadawodd Paul a'i gymdeithion mewn llong o Alexandria, ac o'r diwedd dynesasant at Rufain. "Ac oddi yno, pan glybu y brodyr am danom, hwy a ddaethant i'n cyfarfod ni hyd Appiifforum, a'r Tair tafarn: y rhai pan welodd Paul, efe a ddiolchodd i Dduw, ac a gymerodd gysur." Wedi cyrhaedd Rhufain, cenadwyd iddo aros yn ei dŷ ardrethol ei hun, gyda milwr oedd yn ei gadw. Yn fuan anfonodd am Iuddewon penaf y ddinas, i hysbysu iddynt yr achos o'i ddyfodiad, a chyda llaw pregethodd yr efengyl iddynt. Fel arfer, credodd rhai, a gwrthwynebodd eraill. Arosodd Paul ddwy flynedd yn ei dŷ ei hun, gan bregethu i bawb a ddelai ato. Tra yr oedd yn Rhufain y tybir iddo ysgrifenu ei lythyrau at y Philipiaid, yr Ephesiaid, y Colosiaid, a Philemon. Wedi ei ryddhau, teithiodd trwy amryw wledydd yn Ewrob ac Asia. Pan ddaeth yr ail waith i Rufain, taflwyd ef i garchar; a dywedir i ni gan haneswyr hynafol i Nero dòri ei ben.—ACTAU xxviii.

## CORPH Y FARWOLAETH HON.

ER fod y rhan hanesiol o'r Testament Newydd yn terfynu gydag Actau yr Apostolion, eto cawn destynau pwrpasol i'r pin a'r pwyntil, yn nygwyddiadau a chyfeiriadau yr Epistolau, a golygfeydd llyfr prophwydol y Datguddiad. Desgrifia yr Apostol flinderau natur ysprydol sydd eto yn gysylltiedig â chorph llawn o chwantau llygredig ac anhwylderau marwol—corph, neu gnawd, yn yr hwn nad oes dim da yn trigo. Dengys nad yw yr undeb yma yn ddim amgen na chaethiwed o'r fath druenusaf, ac o'r diwedd tŷr allan yn y geiriau cyffrous,—"Ys truan o ddyn ydwyf fi, pwy a'm gwared oddiwrth gorph y farwolaeth hon!" Dywedir fod y geiriau yn cyfeirio at arferiad rhai gormeswyr, y rhai oeddent mor greulon a rhwymo corph marw wrth y dyn byw, hyd nes i'r arogl drewedig ei ladd. Mae y darlun yn egluro dyn yn y cyflwr dychrynllyd hwn.—RHUF. vii.

---

## Y CROCHENYDD A'R CLAI.

MAE dynion anwybodus ac anystyriol yn dueddol i achwyn a beio trefniadau Rhagluniaeth yn y byd; ond annghofiant ddau beth,—yn gyntaf, mai byd Duw ydyw, ac y gwna efe ei holl ewyllys ar y ddaiar, megys yn y nefoedd; ac yn ail, nas gallwn hyd nes yr agorir byd arall o'n blaen, ddyweyd tynged pwy sydd oreu. Gorweddai Lazarus mewn tylodi ac esgeulusdod wrth borth y gŵr cyfoethog; adfyd gafodd ef yn y byd hwn, tra yr oedd arglwydd y palas yn troi yn nghanol esmwythdra a golud. A phe buasai diwedd ar yr achos yma, ni fuasai Lazarus wedi dyoddef unrhyw anghyfiawnder oddiar law Duw. Ond agorwyd cyfnod arall o fodolaeth cysylltiedig â hwy o'u blaen, a'r geiriau wrth y dyn cyfoethog, ond annedwydd,



CORPH Y FARWOLAETH HON.



Y CROCHENYDD A'R CLAI.



CYFRANU I GYFREIDIAU Y SAINT.

ydynt, "Coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, a Lazarus ei adfyd." Dywed Paul—"Yn hytrach, O ddyn, pwy wyt ti yr hwn a ddadleui yn erbyn Duw? a ddywed y peth ffurfiedig wrth yr hwn a'i ffurfiodd, Paham y'm gwnaethost fel hyn? Onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, ac arall i anmharch?" Fel hyn gallai, gyda thrafferth a manylwch digyffelyb, wneuthur llestr addurnedig i'r palas breninol; neu, mewn brys difater, droi ymaith lestr garw at wasanaeth ceginaidd, neu i fod yn gafn i borthi moch.—RHUF. ix.

---

## CYFRANU I GYFREIDIAU Y SAINT.

MOR annhebyg i athrawiaeth rhai dynion yw dysgeidiaeth Crist a'i apostolion. Cymer y rhai hyn ofal i'n dysgu yn holl fanylion ymddygiad, yn gystal ag yn mhethau trymaf y gyfraith, a hefyd ein rhybuddio rhag anufudd-dod. Nid oes dim yn yr holl Destament Newydd yn cael ei gymhell yn fwy na charedigrwydd ac elusen; ac yn y bumed bennod ar hugain o Matthew, dangosir fod dedfryd dydd y farn yn troi ar hyny. Gwelwn air Paul yn cael ei wirio. Mae duwioldeb yma yn gweini i angenion; yn cyfranu i gyfreidiau y saint, ac yn dylyn lletygarwch." Ond, nid oes un rhan o'r Testament Newydd yn dysgu fod y gweithredoedd da hyn yn cael eu gwneyd yn foddion iachawdwriaeth; er y dysgir ni mewn llawer man eu bod yn nglyn wrthi, ac yn arbenig yn y bennod o Efengyl Matthew y cyfeirwyd ati; cyfran o'r Ysgrythyr a esgeulusir yn ormodol.—RHUF. xii.

## CAREDIGRWYDD I ELYN.

"NAC ymddielwch, rai anwyl, ond rhoddwch le i ddigofaint: canys y mae yn ysgrifenedig, I mi y mae dial; myfi a dalaf, medd yr Arglwydd. Am hyny os dy elyn a newyna, portha ef; os sycheda, dyro iddo ddiod: canys wrth wneuthur hyn ti a bentyru farwor tanllyd ar ei ben ef. Na orchfyger di gan ddrygioni, eithr gorchfyga di ddrygioni trwy ddaioni." Beth bynag a ddysgodd athronwyr hynafol—ac y mae llawer o bethau da yn eu gwersi moesol—ni feddyliasant erioed am gymhell maddeuant o gamweddau, tosturi, cariad, a chymwynasgarwch i elynion. Ni thalwyd fawr o sylw i hyn ychwaith gan yr Iuddewon dan yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd wedi ei adael i Gristionogaeth i ddwyn i lawr briodoliaethau dwyfol—trugaredd, maddeuant, a chymwynasgarwch cyffredinol, a bendithio cyflwr cymdeithasol dyn trwy eu harfer mewn bywyd. Y fuddugoliaeth benaf, anhawddaf, a mwyaf angenrheidiol a gyflawnir gan grefydd, yw yr hon sydd yn darostwng cynddaredd dialgarwch yn y meddwl, a pheri i ddyn fyddo wedi dyoddef camwri mawr dalu da am ddrwg.—RHUF. xii.

---

## "EILUN YN DDIM YN Y BYD."

HYNY yw, nid yw yr eilun yn ddim ond y pren, y metel, neu y gareg, o ba un y gwneir ef; er cael ei osod yn y deml ogoneddusaf a wnaed gan ddwylaw dynol, ac er i genedl syrthio o'i flaen, nid yw wedi'r cwbl ond clamp difywyd; ac yn yr ystyr yma, da y dywedwyd, mai "fel hwythau ydyw y rhai a'i gwnânt." Yn y bymthegfed Salm wedi'r ganfed cawn ddesgrifiad cywir o natur a chymwysderau eilun; a gosodir ei annefnyddioldeb allan heb wall na dadl. Ond y mae Esaiah, er mwyn arwain



CAREDIGRWYDD I ELYN.



"EILUN YN DDIM YN Y BYD."



"Y RHAI SYDD YN RHEDEG MEWN GYRFA."

y meddwl trwy holl wrthuni eilun-addoliaeth, yn dangos y gorchwyl o wneuthuriad eilunod mewn dau neu dri man. Yn y bedwaredd bennod a deugain dywed,—"Y gôf â'r efail a weithia yn y glo, ac a'i llunia â morthwylion, ac â nerth ei fraich y llunia efe hi: newynog yw hefyd, a'i nerth a balla. Y saer pren a estyn ei linyn; efe a'i llinia hi wrth linyn coch; efe a'i cymhwysa hi â bwyeill, ac a'i gweithia wrth gwmpas, ac a'i gwna ar ol delw dyn, fel prydferthwch dyn, i aros mewn tŷ. Efe a blana onen, a'r gwlaw a'i maetha. Yna y bydd i ddyn i gyneu tân: canys efe a gymer o honi, ac a ymdwymna: gwna hefyd dduw, ac a'i haddola ef; gwna ef yn ddelw gerfiedig. Efe a ymgryma iddo, ac a'i haddola, ac a weddïa arno, ac a ddywed, Gwared fi; canys fy Nuw ydwyt."—1 Cor. viii.

---

## "Y RHAI SYDD YN RHEDEG MEWN GYRFA."

Defnyddir y gydmariaeth o redegfa, yn yr hon y gosodir nôd o fewn pellder pennodol, i'w gyraedd gan gystadleuwyr am wobr, yn fynych yn y Testament Newydd: "Oni wyddoch chwi fod y rhai sydd yn rhedeg mewn gyrfa, i gyd yn rhedeg, ond bod un yn derbyn y gamp? felly rhedwch, fel y caffoch afael." Cyfeiria Paul yma, mae'n debyg, at y campau Isthmaidd, a gynelid yn fynych yn Corinth, yn y rhai y byddai llawer yn ymgystadlu mewn rhedeg. Ac yr oedd yr holl ymdrech, y pryder, a'r darpariadau a'r ddysgyblaeth flaenorol, yn cael eu gwneyd, nid er mwyn enill coron o berlau, na swm o arian, ond coron o ddail—dail yr olewydden wyllt, y lawryf, neu bersli. Da y gallasai yr Apostol wrth-gyferbynu y wobr ddiwerth, y goron lygredig a gwywedig hon, â'r goron anllygredig a gynyga yr Efengyl.—1 Cor. ix.

## CREDINWYR WEDI EU GWAHODD I WLEDD.

MAE ein Harglwydd ei hun, yn ei esiampl a'i addysg, yn cyfiawnhau arferiad cymedrol i ni o fwyniant y byd hwn, ac nid yw yn ein cyfyngu ar y cyfryw achlysuron i gwmpeini rhai o'r un golygiadau crefyddol a ni ein hunain. Eisteddai ef yn nhai Phariseaid pan wahoddid ef, ac yn nhai publicanod a phechaduriaid pan allai wneuthur daioni iddynt. Ysgrifena yr Apostol Paul, yn y bennod hon, ar ol rhybuddio y Corinthiaid i ffoi rhag eilunaddoliaeth, ac oddiwrth gyfranogiad o aberthau cenedlig, " Pob peth sydd gyfreithlawn i mi, eithr nid yw pob peth yn llesâu ; pob peth sydd gyfreithlawn i mi, eithr nid yw pob peth yn adeiladu.. Beth bynag a werthir yn y gigfa, bwytewch ; heb ofyn dim er mwyn cydwybod. Canys eiddo yr Arglwydd y ddaiar, a'i chyflawnder. Os bydd i neb o'r rhai digred eich gwahodd, ac os mynwch fyned ; bwytewch beth bynag a rodder ger eich bron, heb ymofyn dim er mwyn cydwybod. Eithr os dywed neb wrthych, Peth wedi ei aberthu i eilunod yw hwn ; na fwytewch er mwyn hwnw yr hwn a'i mynegodd, ac er mwyn cydwybod." —1 COR. x.

---

## FFYDD, GOBAITH, CARIAD.

MAE y tri gras rhagorol ac hanfodol hyn, fel pe byddent yn cael eu personoli yn iaith yr Apostol. " Yr awr hon y mae yn aros ffydd, gobaith, cariad, y tri hyn ; a'r mwyaf o'r rhai hyn yw cariad." Mae y pwyntil yn fynych wedi bod yn cynorthwyo y pin i egluro y rhinweddau yma. Mae yn eithaf hysbys fod yr Apostol yma, wrth gariad, yn golygu rhywbeth mwy na rhoddi elusen, er mor angenrheidiol yw hyny ; oblegyd dywed y gallai borthi y tylodion a'i holl dda, a bod er hyny heb y gras a ganmolir



CREDINWYR WEDI EU GWAHODD I WLEDD.



FFYDD, GOBAITH, CARIAD.



YR UDGORN A GAN A'R MEIRW A GYFODIR.

yma, yr hwn sydd garedigrwydd calon, yn egluro ei hun mewn amynedd, gostyngeiddrwydd, a hunan-ymwadiad; mor rhydd oddiwrth bob eiddigedd a gwagogoniant, ag ydyw oddiwrth ragrith. Gesyd y gras hwn uwchlaw y lleill oll, a dysg ni, er i ddyn allu symud mynyddoedd a'i ffydd, a phrophwydo fel angel o'r nef, eto, os heb gariad, nad yw, fel Cristion, yn ddim. Cariad hefyd yw y gras anfarwol. "Cariad byth ni chwymp ymaith: eithr pa un bynag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant; ai tafodau, hwy a beidiant; ai gwybodaeth, hi a ddiflana. Eithr pan ddelo yr hyn sydd berffaith, yna yr hyn sydd o ran a ddileir."—1 Cor. xiii.

---

## YR UDGORN A GAN A'R MEIRW A GYFODIR.

Mae yr ysgrythyr hon mor gynefin i'n clustiau fel nad oes angen ei hail-adrodd. Cynwysa ddadl fawr gobaith y Cristion, nad oes diwedd arno pan osodir ei gorph yn y bedd; nad yw ei feddyliau y pryd hwnw yn trengu, na'i ymddiried yn Nuw yn pallu; ond cyflawnir yn ddiau bob peth a ysgrifenwyd am dano; y bydd i'w gnawd, a hauwyd mewn llygredigaeth, gyfodi mewn anllygredigaeth; hauwyd mewn anmharch, gyfodi mewn gogoniant; hauwyd yn gorph anianol, gyfodi yn gorph ysprydol. Ni ddywedir mai yr un corph a adgyfodir; ni fydd y corph ysprydol yn fwy tebyg i'r corph nag yw y planhigyn blagurol neu y dderwen ganghenog i'r hedyn a'u cynyrchodd. Dywed yr Apostol, "Ni ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw. Wele, yr wyf yn dywedyd i chwi ddirgelwch: Ni hunwn ni oll, eithr ni a newidir oll mewn moment, ar darawiad llygad, wrth yr udgorn diweddaf. Canys yr udgorn a gân, a'r meirw a gyfodir yn anllygredig, a ninau a newidir."—1 Cor. xv.

## GWELEDIGAETH PAUL.

"YMFFROSTIO yn ddiau nid yw fuddiol i mi: canys mi a a ddeuaf at weledigaethau a datguddiedigaethau yr Arglwydd. Mi a adwaenwn ddyn yn Nghrist er ys rhagor i bedair blynedd ar ddeg (pa un ai yn y corph, ni wn; ai allan o'r corph, ni wn i: Duw a ŵyr) y cyfryw un a gipiwyd i fyny hyd y drydedd nef. Ac mi a adwaenwn y cyfryw ddyn, ei gipio ef i fyny i baradwys, ac iddo glywed geiriau annhraethadwy, y rhai nid yw gyfreithlawn i ddyn eu hadrodd. Am y cyfryw un yr ymffrostiaf; eithr am danaf fy hun nid ymffrostiaf, oddieithr yn fy ngwendid. Ac fel na'm tra-dyrchafer gan odidowgrwydd y datguddiedigaethau, rhoddwyd i mi swmbwl yn y cnawd, cenad Satan, i'm cernodio." Cyfeirio ato ei hun mae yr Apostol yn ddiau yn y geiriau hyn; pe amgen ni buasai angen y swmbwl yn y cnawd i'w gadw rhag tra-dyrchafu gan odidowgrwydd y datguddiedigaethau. Pa beth oedd y swmbwl yn y cnawd, mae duwinyddion wedi ymdrafferthu yn ofer i geisio cael allan. Nis gallwn ni, gan hyny, ddysgwyl ei gael allan—paham y dysgwyliwn, gan fod ysprydoliaeth wedi mynu ei guddio.—2 COR. xii.

---

## PAUL YN YSGRIFENU EPISTOL.

"GWELWCH cyhyd y llythyr a ysgrifenais atoch a'm llaw fy hun." Darllena rhai esbonwyr y geiriau fel hyn; "Gwelwch gyda pha fath lythyrenau mawrion yr ysgrifenais atoch"—hyny yw, "Gwelwch y fath lythyrenau diaddurn a thrwsgl a ysgrifenais yn fy mrys a'm sel i'ch cyfarch." Beth bynag, nid oedd yn beth cyffredin i Paul ysgrifenu Epistolau â'i law ei hun—ond cyflogai gyfaill, neu ysgrifenydd i wneyd hyny. Gallasai y Galatiaid gasglu oddiwrth fod yr Apostol wedi ysgrifenu ei hun, ac oddiwrth natur garedig a selog y llythyr, gymaint



GWELEDIGAETH PAUL



PAUL YN YSGRIFENU EPISTOL.



MELCHISEDEC YN DERBYN DEGWM GAN ABRAHAM

syrthiant i'w lwybr; ac y maent fel yn temtio y diafol i ymosod arnynt. Gallasai Pedr yn dda roddi y rhybudd a rydd, wedi cael y fath brofiad dychrynllyd o allu yr un drwg, ac o helaethrwydd y perygl—wedi bod o fewn cam i ddinystr, lle y gyrwyd ef gan ei wag-ymddiried. A ydym ni yn ystyried yn briodol faint ein dyled i Dad y trugareddau, a Chadben mawr ein hiachawdwriaeth, yr hwn a enillodd oruchafiaeth sydd yn ein dyogelu ni, os daliwn ar yr un ochr ag ef, a gosod ein hunain dan ei faner? Mae y diafol yn *ewyllysio* dinystr hollol a thragywyddol holl ddynolryw. Yr ydym yn ddyledus i Grist am ei ddyrysu a'i gadwyno, —y cryfach nag ef, yr hwn a'i gorchfygodd, ac yn y diwedd a'i dymchwela."—1 PEDR V.

---

## YR HWCH A OLCHWYD.

MAE y cydmariaethau a ddefnyddir gan yr ysgrifenwyr santaidd er dangos gwir gyflwr pechaduriaid a gwrthgilwyr, o nodwedd dra isel. Dywed yr Hen Destament nad yw dynoliaeth syrthiedig, yn ddim ond clwyfau ac archollion; a chleisiau llygredig, o wadn y troed hyd y coryn. Defnyddia Solomon y gydmariaeth wrthgas, eto gywir, o gî yn dychwelyd at ei chwydiad; ac y mae y gydmariaeth hon yn cael ei dyfynu gan yr Apostol: "Canys os wedi iddynt ddianc oddi wrth halogedigaeth y byd, trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist, y rhwystrir hwy drachefn â'r pethau hyn, a'u gorchfygu; aeth diwedd y rhai hyny yn waeth na'u dechreuad. Canys gwell fuasai iddynt fod heb adnabod ffordd cyfiawnder, nag, wedi ei hadnabod, troi oddiwrth y gorchymyn santaidd yr hwn a draddodwyd iddynt. Eithr dygwyddodd iddynt yn ol y wir ddïareb, Y cî a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun; a'r hwch wedi ei golchi, i'w hymdreiglfa yn y dom."—2 PEDR ii.

## MICHAEL YN YMDDADLEU YN NGHYLCH CORPH MOSES.

MAE llawer o ddynion dysgedig wedi bod yn chwilio i'r amgylchiadau y cyfeirir atynt yma, yr hyn a ymddengys fod yn draddodiad yn yr eglwys Iuddewig ; ond ni chofnododir ef yn hanesiaeth yr Hen Destament. Cawn hanes marwolaeth a chladdedigaeth Moses yn y bedwaredd bennod ar ddeg o Deuteronomium ; "A Moses, gwas yr Arglwydd, a fu farw yno yn nhir Moab ; ac nid edwyn neb ei fedd ef hyd y dydd hwn. Ac efe (yr Arglwydd) a'i claddodd ef mewn glyn yn nhir Moab." Y rheswm, mae'n debyg, am guddio ei fedd ydoedd hyn ; pe buasai y diafol yn gallu datguddio i'r Iuddewon y lle y claddwyd Moses, buasent ar ol hyny, yn addoli ei weddillion—yr hyn fuasai yn boddio ei falais ef yn neillduol, trwy wneyd y tywysog hwn dan Dduw, yn foddion addoliad annuwiol ar ol ei farw. Tybia yr Archesgob Tillotson, mai i ragflaenu hyn y claddodd Michael y corph yn ddirgelaidd. Os felly, mae angelion da weithiau yn cael eu defnyddio i gyfyngu gallu y diafol. Tybia duwinyddion eraill nad yn nghylch corph marw Moses y bu yr archangel yn ymddadleu â'r un drwg, ond yn nghylch ei gorph byw, pan oedd yn faban ar yr afon. Y testyn yn Judas yw hwn : "Eithr Michael yr archangel, pan oedd efe wrth ymddadleu â diafol, yn ymresymu yn nghylch corph Moses, ni feiddiodd ddwyn barn gablaidd arno, eithr efe a ddywedodd, Cerydded yr Arglwydd dydi."—JUDAS 9.

---

## IOAN YN YNYS PATMOS.

YR Ioan hwn, yr hwn hefyd a elwir yr Efengylwr, neu y duwinydd, ydoedd fab i Zebedëus a Salome. Ioan oedd dysgybl anwyl ei Athraw. Pregethodd yr efengyl mewn



MICHAEL YN YMDDADLEU YN NGHYLCH CORPH MOSES.



IOAN YN YNYS PATMOS.



GWELEDIGAETH GYNTAF IOAN.

amryw barthau o Asia, ond ei brif breswylfa oedd Ephesus. Dywedir iddo, yn yr erledigaeth dan Domitian, gael ei daflu i bair o olew berwedig; ac, wedi dianc yn ddianaf, alltudiwyd ef i Ynys Patmos, lle y derbyniodd y gweledigaethau, neu y datguddiad sydd yn dwyn ei enw. Ynys yw Patmos, neu Patinos, yn yr Archipelago Groegaidd; mae yn bum' milltir ar hugain o amgylchedd, ond y mae yn ddiffrwyth y rhan fwyaf oddigerth y dyffrynoedd. Mae cyflawnder o betris, cwningod, soflieir, durturod, colomenod, a giachod yno. Yn nherfyn y mynydd sydd yn ei chanol y mae mynachdŷ St. Ioan. Saif meudwyfa y Datguddiad ar ochr y mynydd, yr hon a arweinia i'r eglwys sydd wedi ei hadeiladu yn erbyn ogof yn y graig, yr hon a nodir fel nawddle Ioan yn ystod ei alltudiaeth. Preswylir yr ynys yn benaf yn awr gan forwyr ac adeiladwyr llongau.—DAT. i

---

## GWELEDIGAETH GYNTAF IOAN.

"YR oeddwn i yn yr yspryd ar ddydd yr Arglwydd; ac a glywais o'r tu ol i mi lef fawr fel llais udgorn, yn dywedyd, Mi yw Alpha ac Omega, y cyntaf a'r diweddaf: ac mi a droais i weled, ac wedi i mi droi, mi a welais saith ganhwyllbren aur; ac yn nghanol y saith ganhwyllbren, un tebyg i Fab y dyn, wedi ymwisgo â gwisg laes hyd ei draed, ac wedi ymwregysu yn nghylch ei fronau â gwregys aur. Ei ben ef a'i wallt oedd wynion fel gwlan, cyn wyned a'r eira; a'i lygaid fel y fflam dân; ac yr oedd ganddo yn ei law ddehau saith seren: ac o'i enau yr oedd cleddau llym-daufiniog yn dyfod allan: a'i wyneb-pryd fel yr haul yn disgleirio yn ei nerth. A phan welais ef, mi a syrthiais wrth ei draed ef fel marw. Ac efe a osododd ei law ddehau arnaf fi, gan ddywedyd wrthyf, Nac ofna."—DAT. i.

## BRENINOEDD Y DDAIAR YN YMGUDDIO.

GAN ei fod yn anhawdd, os nad yn anmhosibl, i egluro gweledigaethau y llyfr rhyfedd hwn, fel ag i'w wneyd yn ddealladwy i ddarllenwyr ieuainc, rhoddwn y geiriau fel y maent i lawr, gydag ychydig o adfyfyrdod ar y bennod. "A breninoedd y ddaiar, a'r gwŷr mawr, a'r cyfoethogion, a'r pen-capteniaid, a'r gwŷr cedyrn, a phob gŵr caeth, a phob gŵr rhydd, a ymguddiasant yn yr ogofeydd, ac yn nghreigiau y mynyddoedd; ac a ddywedasant wrth y mynyddoedd a'r creigiau, Syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o ŵydd yr hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-fainc, ac oddiwrth lid yr Oen: canys daeth dydd mawr ei ddigter ef; a phwy a ddichon sefyll?" Dyma wirionedd arswydus yn wir! gwareder ni rhag bod yn mysg y rhai hyny, fydd yn rhwygo yr awyr â'u llefau, mewn dirwasgfa anobeithiol, yn galw ar y creigiau a'r mynyddau i'n dinystrio a'n cuddio! Ffown yn awr, yn yr amser cymeradwy, pan nad yw ei lid wedi ei enyn ond ychydig, am noddfa yn Nghraig yr Oesoedd, gan gofio fod Mab Duw yn cael ei ddatguddio yn awr fel Oen Duw yn tynu ymaith bechodau y byd.—DAT. vi.

---

## Y SEREN YN SYRTHIO, A'R PYDEW YN AGOR.

"A'R pumed angel a udganodd; ac mi a welais seren yn syrthio o'r nef i'r ddaiar: a rhoddwyd iddo ef agoriad y pydew heb waelod. Ac efe a agorodd y pydew heb waelod; a chododd mŵg o'r pydew, fel mŵg ffwrn fawr; a thywyllwyd yr haul a'r awyr gan fŵg y pydew." Gellir rhoddi y gyfran hon o'r Ysgrythyr fel hyn:—Ac udganodd y pumed angel, a gwelais angel dysglaer yn disgyn gyda'r fath gyflymdra rhyfeddol, nes yr ymddangosai fel seren



BRENHINOEDD Y DDAIAR YN YMGUDDIO.



Y SEREN YN SYRTHIO, A'R PYDEW YN AGOR.



IOAN YN BWYTA Y LLYFR.

yn cael ei saethu ; ac wedi iddo syrthio megys o'r nefoedd i'r ddaiar, a sefyll arni, rhoddwyd iddo agoriad y pydew diwaelod ; aeth yntau at borth y pydew uffernol, ac agorodd ef, a daeth mŵg tew allan nes duo yr holl awyrgylch. Rhydd hyn ar ddeall i ni fod rhyw drychineb mawr gerllaw. Mae yn gysur i feddwl fod y galluoedd uffernol yn cael eu dal yn gaeth gan y nefol ; a bod y pydewau, y cadwynau, y drysau, a'r agoriadau a nodir, yn dangos y sefyllfa o gaethiwed y mae demoniaid a galluoedd y tywyllwch yn cael eu cadw ynddi gan angel, yr hwn a ddichon eu rhyddhau a'u cadwyno, fel y byddo amcan yr Hollalluog yn galw. Mae gweinidogion ewyllys Duw yn rhwymo cenadau dinystr, neu yn eu rhyddhau dros dymhor, wrth ei orchymyn.—Dat. ix.

---

## IOAN YN BWYTA Y LLYFR.

"Ac mi a welais angel cryf arall yn disgyn o'r nef, wedi ei wisgo â chwmwl : ac enfys oedd ar ei ben, a'i wyneb ydoedd fel yr haul, a'i draed fel colofnau o dân : ac yr oedd ganddo yn ei law lyfr bychan wedi ei agoryd. Ac efe a osododd ei droed ddehau ar y môr, a'i aswy ar y tir : a'r angel a gododd ei law i'r nef, ac a dyngodd i'r hwn sydd yn byw yn oes oesoedd, na byddai amser mwyach : a'r llef a glywais o'r nef, a lefarodd drachefn wrthyf, ac a ddywedodd, Dos, cymer y llyfr bychan sydd wedi ei agoryd yn llaw yr angel. Ac mi a aethum at yr angel, gan ddywedyd wrtho, Moes i mi y llyfr bychan. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Cymer, a bwyta ef yn llwyr. Ac mi a gymerais y llyfr bychan o law yr angel, ac a'i bwytêais ef, ac yr oedd efe yn fy ngenau megys mêl yn felus : ac wedi i mi ei fwyta ef, fy mol a aeth yn chwerw."—Dat. x.

## BWRW ALLAN Y DDRAIG FAWR.

"A BU rhyfel yn y nef; Michael a'i angelion a ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a ryfelodd a'i hangelion hithau, ac ni orfuant; a'u lle hwynt ni chafwyd mwyach yn y nef. A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd: efe a fwriwyd allan i'r ddaiar, a'i angelion a fwriwyd gydag ef. Ac mi a glywais lef uchel yn dywedyd yn y nef, Yr awr hon y daeth iachawdwriaeth, a nerth, a theyrnas ein Duw ni, a gallu ei Grist ef: canys cyhuddwr ein brodyr ni a fwriwyd i'r llawr, yr hwn oedd yn eu cyhuddo hwy ger bron ein Duw ni ddydd a nos. A hwy a'i gorchfygasant ef trwy waed yr Oen, a thrwy air eu tystiolaeth hwynt; ac ni charasant eu heinioes hyd angau. O herwydd hyn llawenhewch, y nefoedd, a'r rhai ydych yn trigo ynddynt. Gwae y rhai sydd yn trigo ar y ddaiar, a'r môr: canys y diafol a ddisgynodd atoch chwi, a chanddo lid mawr, o herwydd ei fod yn gwybod nad oes iddo ond ychydig amser."—DAT. xii.

---

## Y WRAIG O BABILON.

"Ac efe a'm dygodd i i'r diffaethwch yn yr yspryd: ac mi a welais wraig yn eistedd ar fwystfil o liw ysgarlad, yn llawn o enwau cabledd, â saith ben iddo, a deg corn. A'r wraig oedd wedi ei dilladu â phorphor ac ysgarlad, ac wedi ei gwychu âg aur, ac â main gwerthfawr, a pherlau, a chanddi gwpan aur yn ei llaw, yn llawn o ffieidd-dra. Ac ar ei thalcen yr oedd enw wedi ei ysgrifenu, DIRGELWCH, BABILON FAWR, MAM PUTEIN-DRA, A FFIEIDD-DRA Y DDAIAR. Ac mi a welais y wraig yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron

Iesu: a phan ei gwelais, mi a ryfeddais â rhyfeddod mawr. A'r angel a ddywedodd wrthyf, Paham y rhyfeddaist? mi a ddywedaf i ti ddirgelwch y wraig, a'r bwystfil sydd yn ei dwyn hi. Y bwystfil a welaist, a fu, ac nid yw; a bydd iddo ddyfod i fyny o'r pydew heb waelod, a myned i ddistryw: a rhyfeddu a wna y rhai sydd yn trigo ar y ddaiar y rhai ni ysgrifenwyd eu henwau yn llyfr y bywyd er seiliad y byd."—DAT. xvii.

---

## RHWYMO SATAN AM FIL O FLYNEDDOEDD.

"Ac mi a welais angel yn disgyn o'r nef, a chanddo agoriad y pydew diwaelod, a chadwyn fawr yn ei law. Ac efe a ddaliodd y ddraig, yr hen sarph, yr hon yw diafol a Satan, ac a'i rhwymodd ef dros fil o flyneddoedd, ac a'i bwriodd ef i'r pydew diwaelod, ac a gauodd arno ef, fel na thwyllai efe y cenedloedd mwyach, nes cyflawni y mil o flyneddoedd." Mor drist yr ymddengys ein daiar pan edrychom ar deyrnasiad Satan arni—ar ddylanwad galluoedd y tywyllwch ar eneidiau dynion anfarwol! Diolchwn fod yr Hollalluog wedi addaw cyfyngu ei awdurdod, ac anfon angel i lawr gydag agoriadau ei bydew, i'w rwymo a'i daflu i mewn. Ac yn awr, wrth adael y llyfr hynod hwn, na thybiwn mai dirgeledigaethau ydyw oll, ac nad oes addysg i ni ynddo. Myfyriwn ar iaith ddifrifol a phrydferth y bennod ddiweddaf, a chadwn hi yn ffyddlon yn ein côf,—"Ac y mae yr Yspryd a'r briodas-ferch yn dywedyd, Tyred. A'r hwn sydd yn clywed, dyweded, Tyred. A'r hwn sydd a syched arno, deued; a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymered ddwfr y bywyd yn rhad."—DAT. xxii.

